ond llefain yn nghynwrf ei deimladau, "Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel, a'i farchogion," a rhwygo ei ddillad yn ddeuddarn, a chodi i fynu fantell Elias a syrthiasai oddiwrtho, a dychwelyd ei hunan ar hyd y ffordd y daethent, ac nis gwelodd ei athraw mwyach, nes iddynt adnewyddu eu cyfeillach yn y nefoedd.

3. Fod symudiad duwiolion defnyddiol yn golled drom i'r eglwys ac i'r byd. Yr oedd, nid yn unig Eliseus a meibion y proffwydi, yn llefain, "Fy nhad, fy nhad," ar ol Elias; ond yr oedd Obadiah a'r tywysogion, a phob credadyn drwy Israel, yn teimlo fod achos crefydd wedi colli ateg gref pan y cafodd ei symud: ac yr oedd galar a hiraeth trwm ar ei ol. Ac y mae yn hen arferiad i'r rhai byw alaru ar ol eu cyfeillion defnyddiol. Pan y bu farw Sarah yn Nghaer Arba, aeth Abraham i alaru ac i wylofain am dani; ac yr oedd nid yn unig ei deulu, ond yr oedd meibion Heth a'i gymydogion eraill, yn cydymdeimlo ag ef o herwydd ei golled. Pan y bu farw Debora, mamaeth Rebecca, galwyd derwen Bethel, dan ba un y cafodd ei chladdu, yn dderwen yr wylofain; yr hyn oedd yn dystiolaeth anrhydeddus ei bod wedi bod yn gariadus a defnyddiol yn ei bywyd. Pan orphenodd Jacob orchymyn i'w feibion, efe a dynodd ei draed i'r gwely, ac a fu farw, a chasglwyd ef at ei bobl: yna y syrthiodd Joseph ar wyneb ei dad, ac a wylodd arno ef, ac a'i cusanodd ef: a'r Aifftiaid a'i harwylasant ef ddeng niwrnod a thriugain: a phan aeth Joseph i fynu i gladdu ei dad, holl weision Pharaoh, a holl henaduriaid gwlad yr Aifft, a aethant i fynu gydag ef; a holl dŷ Joseph, a'i frodyr, llu mawr iawn: a hwy a ddaethant hyd lawr-dyrnu Atad, ac a wnaethant yno alar mawr a thrwm iawn. Yr oedd y fath arwyl, a'r fath alar, a'r fath angladd yn dystiolaeth anrhydeddus iawn i enw ac i goffadwriaeth y Patriarch. A holl gynulleidfa Israel, pan welsant farw Aaron, a wylasant am Aaron ddeng niwrnod ar hugain. A Moses ydoedd fab ugain mlwydd a chant pan fu efe farw: ni thywyllasai ei lygaid, ac ni chiliasai ei ireidd-dra ef. A meibion Israel a wylasant am Moses yn rhosydd Moab ddeng niwrnod ar hugain. Pan y bu

farw Samuel yn ei dŷ yn Ramah, holl Israel a ymgynullasant i'w angladd; ac a alarasant am dano. Yr oedd Jehoiada yr offeiriad yn fab can' mlwydd a deg ar hugain pan y bu farw; a hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd, gyda'r breninoedd; canys efe a wnelsai ddaioni yn Israel, tu ag at Dduw a'i dŷ. Pan hunodd Hezeciah gyda'i dadau, claddasant ef yn yr uchaf o feddau meibion Dafydd, er cof parchus am ei *garedigrwydd* a'i ddefnyddioldeb. Yr oedd duwioldeb a defnyddioldeb Josiah wedi bod mor ëang, fel y dywedir wrth gofnodi ei farwolaeth, "A holl Juda a Jerusalem a alarasant am Josiah: a Jeremi hefyd a alarnadodd am Josiah; a'r holl gantorion a'r cantoresau yn eu galarnadau a soniant am Josiah hyd heddyw, a hwy a'i gwnaethant yn ddefod yn Israel: ac wele hwynt yn ysgrifenig yn y galarnadau." Yr oedd y pregethwyr, a'r beirdd, a'r cantorion, a'r cantoresau, a phob cynulleidfa, a theulu drwy Israel am y trymaf eu galarnad ar ol Josiah. Yr oedd yn dro trwm iawn i Josiah enwog gael ei ladd mewn rhyfel afreidiol, mewn rhyfel anghyfreithlawn; ac iddo fynu myned i'r rhyfel yn groes i feddwl ei Dduw. Adroddir fod Stephan yn wr llawn o ffydd ac o'r Yspryd Glan: a diameu mai efe oedd y gwresocaf ei sêl, a'r mwyaf nerthol ei ddoniau o'r saith diacon. Efe hefyd oedd merthyr cyntaf cynddaredd erlidwyr Cristionogaeth: ond yr oedd eu cyngor yn llawn cyffro wrth ei gondemnio am na allent wrthwynebu y doethineb a'r yspryd trwy yr hwn yr oedd efe yn llefaru; ac am eu bod yn gweled ei wyneb fel gwyneb angel. Yr oedd yn llawn o yspryd ac o lawenydd ei Arglwydd pan yr oeddynt yn ei labyddio; a'i weddi oedd: "Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn." A gwŷr bucheddol, gwŷr meddylgar, uniawn, yn anghymeradwyo cynddaredd a chreulondeb yr erlidwyr, gwŷr boneddigaidd, rhyddfrydig, anrhydeddus, yn ofni Duw ac yn cadw ei orchymynion, a ddygasant Stephan i'w gladdu; ac a wnaethant alar mawr am dano: oblegyd yr oedd ei ferthyrdod, a hyny mor fuan ar ol ei neillduo i'w ddiaconiaeth, yn golled drom iawn i'r eglwys yn yr oes fore hono.

4. Er fod symudiad enwogion defnyddiol yn achosi galar a hiraeth i'r eglwys ar y ddaear, y gall Duw lenwi pob bylchau, a gwneud pob colled i fynu, drwy beri i ddeuparth o'u hyspryd orphwys ar eu holynwyr. Felly y bu ar ol symudiad Elias. Cododd Eliseus ei fantell a syrthiasai oddiwrtho; a dychwelodd, a safodd wrth fin yr Iorddonen; ac a darawodd y dyfroedd â mantell Elias; ac a lefoedd, "Pa le mae Arglwydd Dduw Elias?" Ac wedi iddo yntau daro y dyfroedd, hwy a wahanwyd yma ac acw; nes iddo fyned drosodd. A phan welodd meibion y proffwydi hyny, hwy a ddywedasant, "Gorphwysodd yspryd Elias ar Eliseus; a hwy a ddaethant i'w gyfarfod, ac a ymgrymasant hyd lawr iddo." Yr oedd yspryd a nerth Elias yn preswylio ynddo. Gwnaeth arwyddion a rhyfeddodau fel ei athraw; ëangwyd cylch ei lafur, estynwyd ei ddyddiau, a choronwyd ei weinidogaeth â defnyddioldeb. Dylanwadodd yspryd ac ymddygiad Stephan yn yr un modd ar ei gyd-ddiaconiaid. Y mae pob credadyn fu'n enwog am ei lafur a'i ffyddlondeb, er wedi marw yn llefaru eto. Y mae ei addysgiadau a'i egwyddorion yn gwreiddio yn nghalonau ei olynwyr; ac y mae ei siampl yn eu cymell i fod yn fwy-fwy defnyddiol.

5. Fod symudiad y duwiol o fyd o brofedigaethau a gorthrymderau yn elw mawr iddo. Yr oedd Elias wedi cael breintiau lliosog ac anrhydedd uchel yn ystod ei weinidogaeth ar y ddaear; ond yr oedd y derchafiad a gafodd yn ei symudiad i'r nefoedd, yn llawer mwy na dim ydoedd wedi gael yn flaenorol i hyny. Yr oedd yn cael myned i gylch uwch ac ëangach, i gyflawni gwasanaeth mwy pur ac ysprydol, ac i gyfeillachu ag ysprydoedd y cyfiawnion y rhai a berffeithiwyd, ac i fwynhau digonoldeb o lawenydd ar ddeheulaw ei Dduw yn oes oesoedd; allan o gyrhaedd pob gelyn a llygredigaeth. Nid oedd neb mwy awyddus nag oedd Paul am fywyd defnyddiol: ond dywedai unwaith, "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu, gan fod genyf chwant i'm datod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." A'r ystyriaeth o'r "elw" fyddai marw iddo,

oedd yn ei alluogi i ysgrifenu mor orfoleddus am amser ei ymddatodiad: "Canys myfi yr awr hon a aberthir, ac amser fy ymddatodiad i a nesaodd: Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd: O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi y dydd hwnw; ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef."

6. Fod symudiad corff Elias i'r nefoedd yn wystl o'r adgyfodiad. Y mae ei gorff ganddo yn awr; ac nid yw yn anfantais iddo, nac yn anharddwch iddo. Yr oedd yn gallu dilyn Moses i fynydd y gwedd-newidiad; ac yr oedd yn gallu cydymddiddan ag ef, am gyfryngdod Iesu; ac yr oedd yn gallu dilyn Moses yn ol ar ei daith i'r nefoedd i adrodd yno yr hyn a welsai ac a deimlasai. Yr oedd y ddau ymwelydd nefol, er bod un mewn corff, a'r llall heb gorff, yn adnabod eu gilydd, ac yn medru cyd-deithio, a chyd-ymddiddan, a chyd-fwynhau; ac y mae bod corff Elias yn gystal a'i yspryd, yn y byd ysprydol, yn un gangen o'r profion sydd genym o adgyfodiad y meirw. Yr oedd rhesymeg Iesu i ddystewi gwrth-ddadleuon gwadwyr yr adgyfodiad a'r bywyd dyfodol yn nodedig o dlws ac effeithiol: "Yn yr adgyfodiad nid ydynt yn gwreica, nac yn gwra; eithr y maent fel angylion Duw yn y nef. Ac am adgyfodiad y meirw, oni ddarllenasoch yr hyn a ddywedwyd wrthych gan Dduw, pan y dywed, Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob? Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw."

## "Y PETHAU MAWR A WNAETH ELISEUS."

(DEG O ANERCHION BYRION.)

"A'r brenin oedd yn ymddiddan â Gehazi, gwas gwr Duw, gan ddywedyd, Adrodd i mi, atolwg, yr holl bethau mawr a wnaeth Eliseus."—2 Bren. 8. 4.

Nid rhyfedd fod brenin Israel mor awyddus am wybod yr holl bethau mawrion a wnaethai Eliseus; oblegyd eu bod yn bethau mor bwysfawr a nodedig. Gallai adroddiad byr o rai o'r pethau mawrion hyny fod o addysg i ninau. Crybwyllwn yn

I. Ei ymroddiad ewyllysgar i'w swydd. Yr oedd yn amaethwr cyfrifol, yn trin tyddyn ardderchog, yn agos i Abel-Mehola, yn rhandir llwyth Simeon. Fel yr oedd un diwrnod yn aredig yn ei faes mawr, a deuddeg cwpl o ychen o'i flaen, daeth Elias heibio, a thaflodd ei fantell drosto. Disgynodd Ysbryd yr Arglwydd arno; gadawodd yr ychen, a rhedodd ar ol Elias; a hysbysodd ei benderfyniad i fod yn ddisgybl iddo, ond cael cenad i ganu yn iach i'w rieni. Yna brysiodd i gusanu ei dad a'i fam, a gwnaeth wledd i'r teulu; ac aeth ar ol Elias; a gwasanaethodd ef yn ffyddlawn o lŵyr-fryd calon. Bu yn ufudd, a diwyd, a gostyngedig, a myfyrgar, fel disgybl iddo. Eisteddodd wrth ei draed i wrando ar ei eiriau. Astudiodd athrawiaethau crefydd, a chyflawnodd ei ddyledswyddau; a bu yn gydymaith caredig i Elias, nes iddo gael yr anrhydedd o fod yn dyst o'i dderchafiad, i'r nefoedd. Yna cafodd ddeuparth o'i yspryd, yn ol ei ddymuniad, er ei gymwyso at y gwaith mawr oedd o'i flaen. Y mae hyn yn dysgu i ni, mai y ffordd iawn, os byddwn am fod yn ddefnyddiol gydag

unrhyw gangen o waith yr Arglwydd, ydyw ymroddi yn ewyllysgar, ac heb oedi; a pheidio gadael i ofalon amser ein maglu, na gadael i'r cyplau ychen, na'r maes, na'r fasnach, na'r golud ein hudo i edrych yn ol; na gadael hyd yn nod i serchiadau cynhesaf ein ceraint anwylaf ein lluddias i fod yn weithgar dros Grist. Buasai yn hawdd i Eliseus ddadlu ei bod yn rhy anhawdd iddo ymadael a'i rieni, o leiaf ar unwaith, yn nechreu y tymor hâu, i fyned ar ol Elias: ond pan argyhoeddwyd ef mai hyny oedd ei ddyledswydd, ac y byddai hyny yn fraint iddo, nid ymgynghorodd â chig a gwaed; ond ymddiriedodd bob is-orchwylion i ofal eraill, a chychwynodd ar unwaith ar ol Elias, a dilynodd ef hyd y diwedd.

II. Y wyrth gyntaf a gyflawnodd oedd hollti dyfroedd yr Iorddonen â mantell Elias.. Pan oedd Elias yn derchafu yn ei gerbyd tanllyd i'r nefoedd, syrthiodd ei fantell oddiwrtho. Nid oedd arno ei heisiau mwyach. Yr oedd yn myned i wlad o hâf tragywyddol, allan o gyrhaedd tymhestloedd y curwlaw, a'r eira a'r oerfel: ac mae'n debyg nad oedd ei fantell, er hardded ydoedd, ac mor ddefnyddiol oedd iddo ar ei deithiau daearyddol, ddim yn cyfateb i wisgoedd y wlad well; nad oedd ddim yn gymwys i fod yn mysg dillad gwynion boneddigion gwleddoedd y nefoedd, nad oedd ddim yr un lliw, na llun, na defnydd, na gwneuthuriad, a mentyll llŷs y gogoniant; ac felly pan y cafodd ei wisgo â dillad y nefoedd, gollyngodd fantell y ddaear i lawr i'r ddaear. Cododd Eliseus ei fantell gyda gŵylder, ond diameu fod yn hoff iawn ganddo ei chael. Gwyddai yn dda y dull i'w gwisgo; ac yr oedd yn ymddangos yn hardd ynddi. Yr oedd yn medru ei phlygu a'i dadblygu yn ol arferiad Elias. Yr oedd wedi bod yn ei chario lawer tro pan y byddai Elias yn llesg a lluddedig ar ei daith yn ngwres y dydd: ond ni buasai cael mantell Elias ddim yn ddigon o ddawn ac o nerth iddo fel proffwyd, oni buasai iddo gael deuparth o ysbryd Elias; a chael Duw Elias gydag ef. Nid yw ffraethineb ymadrodd, na thrysorau dysgeidiaeth, na gwisgoedd offeiriadol, ddim yn ddigon er gweini yn effeithiol

yn nghysegroedd yr efengyl, heb gael yspryd ei gweinidogaeth, ac arddeliad a nerthoedd a bendith Duw y weinidogaeth.— Dichon y buasai yn dda genym ni weled yr hen fantell enwog a wisgwyd gan y ddau broffwyd, ond nid yw i'w chael ; y mae y gwyfyn wedi ei hysu yn llwyr ; ond y mae yspryd selog a duwiol y proffwydi i'w gael eto ; ac y mae eu Duw yr un o hyd, mor oludog o ras, ac mor barod i drugarhau ag y bu erioed.

III. Yr ail wyrth a gyflawnodd Eliseus oedd iachau y dyfroedd yn Jerico. Cafodd dderbyniad croesawgar yn Jerico. Yn ystod ei arosiad yno, daeth gwyr y ddinas ato, gan ei gyfarch yn barchus a boneddigaidd, er cael ei gyngor a'i gymorth gyda golwg ar brif anghysur eu dinas. Dywedasant, "Wele, atolwg, ansawdd y ddinas, da yw, fel y mae fy arglwydd yn gweled, ond y dyfroedd sydd ddrwg, a'r tir yn ddiffaeth." Yr oedd rhyw elfenau yn y dwfr ag oedd yn ei wneud yn niweidiol i'r tir, ac yn afiach i'r preswylwyr : ac yr oedd hyny yn brofedigaeth chwerw iddynt ; ac yn ataliol i gynydd a llwyddiant eu dinas. Gwrandawodd y proffwyd ar eu deisyfiad, a dywedodd, Dygwch i mi phiol newydd, a dodwch ynddi halen. A hwy a'i dygasant ; ac efe a aeth at ffynhonell y dyfroedd, ac a fwriodd yr halen yno, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi a iacheais y dyfroedd hyn ; ni bydd oddiyno farwolaeth mwyach, na diffrwythdra. Felly yr iachawyd y dyfroedd hyd y dydd hwn. Ymddygodd pobl Jerico y garedig a boneddigaidd tu ag at y proffwyd ; ac ni adawyd eu cydymdeimlad a'u croesaw heb eu gwobrwyo, o blegyd bu ymweliad y proffwyd yn fendithiol iddynt mewn pethau tymhorol, yn gystal ag mewn pethau crefyddol : ac ni bydd neb byth ar eu colled wrth gefnogi a chynorthwyo gwasanaeth yr Arglwydd.

IV. Yr oedd y wyrth nesaf a gyflawnodd y proffwyd yn un o farnedigaeth,—o farnedigaeth drom iawn. Fel yr oedd efe yn myned i fynu o Jerico i Bethel, daeth plant bychain allan o'r ddinas ac a'i gwatwarasant ef, ac a ddywedasant wrtho ef,

"Dos i fynu moelyn, dos i fynu moelyn." Yr oeddynt yn ymdyru o'i ddeutu, ac yn gwaeddi yn ei wyneb, ac yn chwerthin am ei ben, ac yn mingamu arno, ac yn estyn bysedd ar ei ol, ac yn ei "watwar" yn mhob dull y medrent. Yr oedd eu hymddygiad yn anfoneddigaidd ac yn greulawn. Buasai yn angharedigrwydd gwarthus iddynt watwar yn y dull hwnw y pererin distadlaf yn yr holl wlad; ond yr oedd eu gwaith yn gwatwar olynwr Elias, pan oedd yn ei alar a'i hiraeth, yn brawf eu bod yn cael eu magu mewn teuluoedd gelynol i grefydd, ac i broffwydi yr Arglwydd. Yr oedd ymddygiad gwarthus y plant yn rhoddi lle i gasglu mae rhai o sect Baal, ac o yspryd Ahab a Jesebel, oedd eu rhieni a'u hathrawon; mai rhai anghredinol, anfoneddigaidd, gwatwarllyd, ac erlidgar oeddynt, a'u bod, yn lle dysgu boneddigeiddrwydd a duwioldeb i'w phlant gartref, wedi eu dysgu i gablu a gwatwar ac erlid. Yr oedd yn drwm a galarus iawn i weled mintai fawr o blant bychain Bethel yn ymddwyn mor anfoneddigaidd, mor angharedig, ac mor greulawn. Bu eu cosp yn drom iawn. Edrychodd y proffwyd yn wgus arnynt, ond ni fedrent wrido. Yr oeddynt yn rhy hyfion yn eu drwg i edrychiad effeithio arnynt. Yr oeddynt yn rhy galedion i dderbyn cyngor. Nid oedd edrychiad y proffwyd ond eu cynhyrfu i wylltach creulondeb: ac efe a'u melldithiodd yn enw yr Arglwydd: a dwy arth a ddaeth allan o'r goedwig, ac a ddrylliodd o honynt ddau blentyn a deugain. Yr oedd yr olygfa yn alaethus arswydol. Yr oedd gwaedd eu gwawd a'u gwatwar wedi troi yn waedd dychryn ac ing angau. Dichon y dywed teimlad dynol y buasai yn gyfiawnach i'r farn ddisgyn ar eu rhieni. Yr oedd yn disgyn ar y rhieni: ac nid allasai cerydd trymach ddisgyn arnynt am gam-ddysgu eu plant, na gweled eu plant yn ddrylliau rhwygedig ar hyd y ffordd a'r cloddiau. Diau fod y rhieni yn fwy euog na'r plant; yr oeddynt hefyd yn fwy anmharod i'r farn a byd arall. Y plant oeddynt y troseddwyr gweithredol y tro hwnw; a diau eu bod yn rhai hyfion iawn i wneuthur drwg. Yr oedd y farn hono yn rhybudd difrifol i holl blant a holl

rieni y wlad; a chafodd ei chyhoeddi i bell ac agos; ac nid oes hanes i ddim plant, ar ol hyny, feiddio gwatwar y proffwyd. Y mae yr hanes yn "llefaru eto;" ac yn dysgu i ni fod plant yn debyg o ymddwyn yn ol yr addysg a'r siampl a gânt gartref; fod y plant a hyfforddir yn iawn yn mhen eu ffordd yn debyg o fod o gysur i'w rhieni, ac o ddefnydd yn y byd, ac yn debyg drwy hyny o enill anrhydedd iddynt eu hunain; ond fod y plant sy'n cael eu cychwyn yn ddrwg mewn perygl o gael eu gadael i fyned waeth waeth, nes y daw diwedd drwg iddynt. Y mae'n wir y gall plentyn rhieni crefyddol droi allan yn wyllt ac annuwiol iawn: ac y gall plentyn gael ei droi i'r ffordd iawn, ar ol cael ei fagu yn hollol anghrefyddol; ond y rheol ydyw i blentyn beidio ymadael, pan heneiddio, â'r ffordd yn mha un y cafodd ei gychwyn. Colled a melldith i blant ydyw cael eu magu mewn teulu digrefydd, anffyddiog, a gwatwarllyd: byddant yn debyg o farw yn eu hanwiredd, ond gofynir eu gwaed ar law eu rhieni.



V. Y peth mawr nesaf a wnaeth Eliseus oedd cyfarwyddo dinystr byddinoedd y Moabiaid. Darfu i Mesa brenin Moab, yn amser Jehoram, mab Ahab, wrthryfela yn erbyn Israel; a gwrthod talu y deyrnged arferol o gan' mil o ŵyn, a chan' mil o hyrddod gwlanog. A Jehoram brenin Israel a anfonodd at Jehosaphat brenin Juda i ddeisyf arno ddyfod gydag ef i ryfel yn erbyn Moab, er darostwng y gwrthryfel, a mynu y deyrnged: a dywedodd Jehosaphat, "Mi a af gyda thi; myfi a fyddaf fel tithau; fy mhobl i fel dy bobl dithau: fy meirch i fel dy feirch dithau:" ac arweiniasant eu byddinoedd drwy ffordd anialwch Edom; ac aeth brenin Edom, a'i fyddin gyda hwynt: a buant yn ymdaith o amgylch yn yr anialwch am saith diwrnod, ar dymor o sychder; ac nid oedd dwfr i'r byddinoedd, nac i'w hanifeiliaid; ac yr oeddynt oll ar drengu o syched. A brenin Israel a ddolefodd yn ei gyfyngder, Gwae, gwae ni, o herwydd i'r Arglwydd alw y tri brenin hyn yn nghyd i'w rhoddi yn llaw Moab. A gofynodd Jehosaphat, Onid oes yma broffwyd i'r Arglwydd, fel

yr ymofynom ni â'r Arglwydd trwyddo ef? Ac un o weision brenin Israel a atebodd, y mae yma Eliseus mab Saphat, yr hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw Elias: a Jehosaphat, gan ei fod yn adwaen cymeriad Eliseus, a ddywedodd, Y mae gair yr Arglwydd gydag ef. Yr oedd calon Jehosaphat am droi i ymgynghori â Duw; ac yr oedd yn dda iawn ganddo gael cyfle i wneyd hyny drwy broffwyd mor enwog. Felly Jehosaphat, a brenin Israel, a brenin Edom a ddaethant at Eliseus. Yr oedd yn hyfryd i weled tri brenin, yn eu gwasgfa, yn curo wrth ddrws pabell y proffwyd dirodres. Ac Eliseus a ddywedodd yn hŷf a didderbyn wyneb wrth Jehoram, mab Ahab, brenin Israel, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi? Dos at broffwydi dy dad, ac at broffwydi dy fam. A brenin Israel a ddywedodd wrtho yn wylaidd ac edifeiriol, mewn tôn ymbiliol; Nage, canys yr Arglwydd a alwodd y tri brenin hyn ynghyd i'w rhoddi yn llaw Moab. Yr oedd yn dda iawn i Jehoram y pryd hyny ei fod wedi galw yn ngymdeithas dyn mor enwog am ei dduwioldeb ag ydoedd Jehosaphat: ac yr oedd yn anrhydedd uchel i frenin Edom iddo gael y fraint o fod dan aden Jehosaphat yn clywed Eliseus yn llefaru yn enw yr Arglwydd, ac yn llefaru hefyd ffordd o waredigaeth iddo ef a'i filwyr. Y mae annuwiolion wedi cael llawer o freintiau gwerthfawr drwy fod yn mysg dynion da; ac y mae dynion da rai gweithiau wedi cael profedigaethau chwerwon pan mewn cyngrair â dynion drwg. Eliseus a ddywedodd wrth Jehoram, brenin Israel, Fel mai byw Arglwydd y lluoedd, yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, oni bai fy mod yn parchu wyneb Jehosaphat, brenin Judah, nid edrychaswn arnat ti, ac ni'th welswn: ond yn awr dygwch i mi gerddor; a phan ganodd y cerddor, daeth llaw yr Arglwydd arno ef, ac efe a ddywedodd fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Gwna y dyffryn hwn yn llawn o ffosydd: canys er na welwch wynt, ac na welwch wlaw, eto y dyffryn hwn a lenwir o ddwfr fel yr yfoch chwi a'ch anifeiliaid. A pheth ysgafn yw hyn yn ngolwg yr Arglwydd: efe a ddyry Moab yn eich llaw chwi hefyd. A

chwi a darewch bob dinas gaerog a detholedig; a phob pren teg a fwriwch chwi i lawr; yr holl ffynhonau dyfroedd a gauwch chwi, a phob darn o dir da a ddifwynwch chwi â cherig. A'r bore pan offrymwyd y bwyd-offrwm, wele, ddyfroedd yn dyfod o ffordd Edom; a'r wlad a lanwyd o ddyfroedd—digon i ddiodi eu holl wersyll, a digon yn ngweddill. A phan glybu y Moabiaid fod y breninoedd hyny wedi dyfod i fynu i ymladd yn eu herbyn hwynt; galwyd yn nghyd bawb a allent wisgo arfau, a hwy a safasant ar y terfyn. A hwy a gyfodasant yn fore, ar lewyrchiad cyntaf yr haul ar y dyfroedd; a'r Moabiaid a ganfuant ar eu cyfer y dyfroedd yn goch fel gwaed: a hwy a floeddiasant, Gwaed yw hwn; gan ddyfetha y dyfethwyd y breninoedd; hwy a darawsant bawb eu gilydd: am hyny, yn awr, at yr anrhaith, Moab. A phan ddaethant, ar ruthr mewn gwylltineb ac annrhefn, at wersyll Israel, yr Israeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moabiaid fel y ffoisant o'u blaen hwynt; a hwy a aethant rhagddynt gan daro y Moabiaid yn eu gwlad eu hunain. A phan welodd brenin Moab eu bod yn drech nag ef, efe a gymerth saith gant o wŷr gydag ef yn tynu cleddyf i ruthro ar frenin Edom; ond nis gallasant. Yna, yn nghynddaredd ei goelgrefydd, efe a gymerodd ei fab cyntaf anedig, yr hwn oedd i deyrnasu yn ei le ef, ac a'i hoffrymodd ef yn boeth-offrwm, yn y dull mwyaf cyhoeddus, ar fur y ddinas: a bu llid mawr a melldithiol drwy holl breswylfeydd Moab, o herwydd y difrod ar galanas arswydus oedd brenin Israel a'i gyngreirwyr wedi wneud yn eu gwlad. Dylai adroddiadau y Beibl am y modd y byddai Israel a Juda, a Sidon a Syria, ac Edom a Moab, a'r Aifft ac Ethiopia, ac Assyria a Babylon yn temtio ac yn hudo a rhwydo y naill y llall i wrthryfela yn erbyn yr Arglwydd; ac am y modd y byddai yr Arglwydd, yn ei gyfiawnder dialeddol, yn eu cynhyrfu hwythau i wrthryfela yn erbyn eu gilydd a dyfetha eu gilydd fel cospau arnynt am eu gwrthryfel yn ei erbyn Ef, fod o addysg i holl lywodraethau y ddaear dros holl oesoedd y byd. Ffordd ryfedd iawn a gymerodd yr Arglwydd, yn yr amgylch-

iad dan sylw, i drefnu gwaredigaeth i'r lluoedd digyfrif oedd-ynt ar drengu o syched, drwy lenwi y wlad o ddyfroedd, heb wlaw yn y dull cyffredin: a ffordd ryfeddach na hyny a gymerodd i ddial ar y Moabiaid, drwy iddynt yn eu gwylltineb byrbwyll, a'u hawydd am anrhaith, feddwl mai ffrydiau o waed oedd y ffrydiau dwfr. Y mae gan yr Arglwydd lawer ffordd i noddi ei bobl a'u gwared o'u cyfyngderau; a llawer ffordd hefyd i ddial ar ei gaseion: mŷn wared y rhai a ymddiriedant ynddo, a mŷn afael yn eu holl elynion, er eu darostwng a'u cospi.

VI. Crybwyllir yn nesaf am ei dosturi at wraig weddw mewn cyfyngder, a'r wyrth a gyflawnodd er ei chynorthwyo. Yr oedd y wraig yn weddw i un o feibion y proffwydi. Yr oedd ei gwasgfa yn drom iawn, yn rhy drom i eiriau na dagrau osod allan. Hi a lefodd ar Eliseus, ac a ddywedodd ei chŵyn wrtho, mewn ychydig eiriau. "Dy was, fy ngwr, a fu farw; a thi a wyddost fod dy was yn ofni yr Arglwydd; a'r echwynwr a ddaeth i gymeryd fy nau fab i fod yn gaethion iddo." Arwydda ei geiriau fod cymeriad ei gwr yn adnabyddus i'r proffwyd, ei fod yn ddyn duwiol; ond fod croeswyntoedd amser wedi curo yn ei erbyn; ac iddo golli ei iechyd, a marw, a marw yn dlawd, ac mewn dyled; a bod yr echwynwr newydd ddyfod i gymeryd ei dau fab yn gaethion iddo, fel taliad o'r ddyled. Yr oedd yn rhwygo ei chalon i feddwl am ei dau fab ag oeddynt yn awr yn brif gysur ei bywyd, a'i phrif obaith am gynaliaeth, ar gael eu cymeryd oddiwrthi i fod yn gaethion i'r echwynwr, yr hwn dichon a allasai gael ei dâl drwy foddion tynerach. Gwyddai Eliseus fod ei hadroddiad yn gywir. Yr oedd yn teimlo yn ddwys drosti; a gofynodd, "Beth a wnaf i ti? Mynega i mi beth sydd genyt yn dy dŷ." Dywedodd hithau, Nid oes gan dy law-forwyn yn tŷ, ond ystenaid o olew. Yr oedd ei thŷ wedi myned yn nodedig o dlawd a gwag; nid yn unig yr oedd heb arian, nac addurniadau, na dillad drudfawr; ond yr oedd heb unrhyw ddodrefn, ac heb stôr o luniaeth, nac o ddim arall. Yr oedd y cyfan a feddent wedi eu

gwario, neu eu cymeryd ymaith. Nid oedd yno ddim wedi ei adael ond yr "ystenaid elew." Ac Eliseus a ddywedodd, Dos, cais it lestri oddiallan gan dy holl gymydogion, llestri gweigion, nid ychydig: a phan ddelych i mewn, cau'r drws arnat, ac ar dy feibion, a thywallt i'r holl lestri hyny, a dod heibio yr un a fyddo llawn. Felly hi a aeth oddiwrtho ef, ac wedi iddi hi a'i meibion fenthyca llestri, hi a gauodd y drws arni ei hun ac ar ei meibion, a hwynt hwy a ddygasant y llestri ati hi, a hithau a dywalltodd yr olew. Yr oedd yno weithio prysur, trefnus, a dedwydd. Yr oedd yr olygfa yn gynhyrfus ac effeithiol. Y fam weddw a'r ystenaid olew yn ei llaw, a'i dau fab yn ei hymyl i'w chynorthwyo; un dichon yn symud heibio o'r ffordd y llestri llawnion, a'r llall yn estyn iddi y llestri gweigion a hithau yn tywallt; ond yr oedd ei hystên o hyd yn llawn, hyd yr ymyl, a'r olew yn dal i chwyddo a llenwi fwy fwy, pa fwyaf a dywalltai. Ac wedi llenwi y llestri, hi a ddywedodd wrth ei mab, Dwg i mi eto lestr; dywedodd yntau wrthi, Nid oes mwyach yr un llestr; a'r olew a beidiodd. Ac a beidiodd am nad oedd yno chwaneg o lestri i'w dderbyn, ac yr oedd hi a'i meibion yn cyd-ofidio eisiau eu bod wedi ceisio mwy o lestri. Yr oedd ganddynt ffydd yn y proffwyd, a gwnaethant yn ol ei air; ond buasai yn elw iddynt pe buasai eu ffydd yn fwy, a phe buasent wedi benthyca mwy o lestri gweigion. Yr oedd y proffwyd wedi rhoddi cyfarwyddyd teg a llawn iddi fenthyca gan ei holl gymydogion, lestri gweigion, nid ychydig; am fod y Duw ag oedd yn addaw rhoddi iddi yn holl gyfoethog; ac yn barod i roddi yn helaeth, ac heb ddanod; ac y byddai yn sicr o roddi iddi yn ol ei ffydd. Buasai yn hawdd iddi gael llawer mwy o lestri, pe buasai yn eu ceisio; a diau y buasai yn dda iawn ganddi hi a'i meibion, pan beidiodd yr olew, pe buasent wedi casglu mwy o lestri; ond yr oedd yn rhy hwyr i edifarhau. Yr oedd yr awgrym yn eithaf eglur am iddi fod a'i llestri yn gwbl barod cyn iddi gau y drws a dechreu tywallt, ac yna y cai lon'd y llestri, ac y peidiai yr olew ar ol eu llenwi. Gan fod yr olew mor ddrud-

fawr, ac mor werthadwy, buasai yn dda iawn iddi pe buasai yno fwy o le i'w dderbyn : a diameu fod yr olew hwnw y goreu yn yr holl wlad. Ar ol iddi lenwi y llestri, hi a aeth ac a fynegodd i ŵr Duw. Dywedodd yntau, Dos, gwerth yr olew, a thâl dy ddyled, a bydd di byw, ti a'th feibion, ar y rhan arall. Yr oedd y proffwyd am iddi fod yn onest i dalu ei dyled, ac am iddi fod yn ddedwydd hefyd : yr oedd am iddi hi a'i meibion gael modd i fyw yn anrhydeddus a defnyddiol, ar ol talu y ddyled.

Mae y crybwylliadau hyn am ymddygiad y proffwyd tu ag at y weddw dlawd ddyledog yn dysgu i ni fod yspryd i dosturio wrth rai mewn gwasgfeuon a chyfyngderau yn yspryd gwerthfawr yn ngolwg Duw. Y mae ef yn ewyllysio i'w bobl fod yn garedig a chymwynasgar, a gwneuthur daioni i bawb, ac yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd, a bydd ef yn sicr o gofio i'w cymwynaswyr, ac i'w gorthrymwyr. Y mae hefyd yn yr hanes yn rhoddi i ni awgrym fod digon, a digon byth, o olew gras yn nhrefn fawr yr iachawdwriaeth i lenwi llestri pawb a ddeuant yn mlaen yn ostyngedig a ffyddiog i dderbyn y tywalltiadau ; ac na bydd raid dweyd byth bythoedd yn yr eglwys ar y ddaear, nac yn yr eglwys fawr yn y nef, "Yr olew a beidiodd."

VII. Crybwyllir yn nesaf am ymweliadau y proffwyd â theulu gwraig oludog yn Sunem. Yr oedd Sunem yn dref ar ffordd oedd yn arwain o gyrau dwyreiniol y wlad tua mynydd Carmel. Yr oedd yn sefyll o fewn pum' milldir i fynydd Tabor. Byddai Eliseus yn tramwy yn lled fynych y ffordd hono, ac un diwrnod pan oedd yn myned drwy Sunem, darfu i wraig oludog, hael, garedig, gymwynasgar, oedd yn byw yno, ei gymell i droi i'w thŷ i fwyta bara, a hoffodd ei agwedd ddifrifol, a'i ymddyddanion adeiladol gymaint, fel y dymunodd arno droi i mewn i orphwys a bwyta pa bryd bynag y byddai yn myned heibio. Derbyniodd Eliseus ei gwahoddiad, oblegyd gwyddai fod ei chroesaw yn "groesaw calon a galwai yno i'w fwynhau bob tro y tramwyai heibio. Yr oedd y wraig yn

hoffi ei foes, a'i yspryd, a'i egwyddorion fwy fwy bob tro y troai yno, ac yr oedd yn ei chyfrif yn fraint cael ei groesawu; ac er ei wneud yn fwy cysurus, hi a ddywedodd wrth ei gwr, Wele yn awr mi a wn mai gwr sanctaidd i Dduw ydyw hwn, sydd yn cyniwair heibio i ni yn wastadol. Gwnawn, atolwg, ystafell fechan ar y mur, a gosodwn iddo yno wely, a bwrdd, a stol, a chanwyllbren, fel y tro efe yno, pan ddelo atom ni. Yr oedd yno ystafell fechan dlws iawn, mewn lle iach prydferth ar y mur, wedi ei dodrefnu at archwaeth y proffwyd. Nid oedd yno ddim dodrefn, nac addurniadau afreidiol; ond yr oedd yno bob peth oedd yn eisiau er ei gysur fel pererin ar ei daith: gwely at iddo gysgu a gorphwys, bwrdd at osod bara o'i flaen, stol iddo eistedd arni, a chanwyllbren i ddal ei oleuni pan y dewisai eistedd y nos i fyfyrio. Yr oedd y proffwyd yn teimlo yn ddedwydd iawn yn ei ystafell fechan. Yr oedd yn un mor gryno ac mor gyfleus, mor ysgafn ac mor dawel; ac yr oedd yn teimlo mor ddiolchgar am y fath garedigrwydd, fel y darfu iddo un tro erchi i Gehazi ei was, alw y Sunamees ato, a hi a ddaeth ac a safodd ger ei fron; ac efe a ddywedodd wrthi hi, Wele, ti a ofelaist trosom ni â'r holl ofal yma, beth sydd i'w wneuthur erot ti? A oes a fynych di ei ddywedyd wrth y brenin, neu wrth dywysog y llu? Yr oedd yn barod i ofyn am unrhyw ffafrau o'r llys ar a allai fod er ei lles hi a'i theulu; ond atebodd y wraig yn foneddigaidd, ei bod yn byw yn ddedwydd yn nghanol ei phobl, a bod ganddi bob peth oedd yn eisiau er bod yn gysurus. Yr oedd ei hatebiad yn profi ei bod yn croesawu y proffwyd, nid er mwyn hunan-elw, ond o wir haelfrydigrwydd; nid er mwyn cael derchafiad yn y llys, na chael unrhyw at-daliad felly; ond am fod ganddi fodd a chyfleusdra i ddangos lletygarwch i ŵr Duw, yr hwn oedd yn llafurio yn ddiwyd i wasanaethu ei oes a'i genedl dros Dduw, ac i wneud achos Duw yn foliant ac yn ogoniant drwy'r wlad. Pan ddeallodd y proffwyd nad oedd ei lety-wraig garedig yn disgwyl dim ffafrau felly, gofynodd i Gehazi, Beth gan hyny sydd i'w wneuthur erddi hi? Yr oedd ei ofyniad yn arwyddo

fod ganddo feddwl uchel am graffineb Gehazi; ac yn wir, yr oedd Gehazi yn graff am bethau o'r natur hyny, a dywedodd, Yn ddiau nid oes iddi fab, a'i gwr sydd yn hen. Yr oedd yn gweled fod ganddi gartref llawn, a llawer o olud, ond nad oedd ganddi yr un plentyn i etifeddu ei heiddo, a gwyddai y byddai yn well ganddi adael yr etifeddiaeth i fab nag i estron. Derbyniodd y proffwyd ei gyngor, a dywedodd, Galw hi, ac efe a'i galwodd hi, a hi a safodd yn y drws. Ac efe a ddywedodd wrthi, Yn nghylch y pryd hyn, wrth amser bywiolaeth, ti a gofleidi fab. Hithau a ddywedodd, Nage, fy Arglwydd, gwr Duw, na ddywed gelwydd i'th law-forwyn. Yr oedd hi bron yn yr un yspryd ag oedd Sarah pan y cafodd addewid am Isaac; ond hi a gafodd fab, yn ol gair Eliseus. A'r bachgen a gynyddodd: yr oedd yn blentyn hawddgar a gobeithiol, ac yr oedd yn anwyl iawn gan ei rieni. Ac efe a aeth allan ddydd-gwaith at ei dad i weled y medelwyr. Yr oedd gwres dydd digwmwl ar faes y fedel yn gryf iawn. Yr oedd ergyd tês yr haul yn rhy gryf i gyfansoddiad tyner y bachgen ieuanc, ac efe a ddywedodd wrth ei dad "Fy mhen, fy mhen." Ni feddyliodd ei dad fod yr haul wedi effeithio mor drwm arno, a dywedodd wrth un o'r llanciau, Dwg ef at ei fam; a'r llanc a'i cymerodd ef at ei fam, ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hi hyd haner dydd, ac a fu farw. Mae geiriau yr adroddiad yn arwyddo mai un o oedran tyner plentyn, oddeutu pedair oed, ydoedd pan y bu farw. A'i fam a'i cymerodd ef i ystafell gwr Duw, ac a'i gosododd ef i orwedd ar wely gwr Duw, ac a gauodd arno, ac a aeth allan. Gwasgfa drom i'w chalon oedd ei weled yn marw, ond darfu i nerth a chynllun ei ffydd ei chynnal yn awr y brofedigaeth. A hi a alwodd ar ei gwr, ac a ddywedodd, Anfon, atolwg, gyda mi un o'r llanciau ac un o'r asynod, canys mi a redaf hyd at wr Duw, ac a ddychwelaf. Dywedodd yntau, Paham yr ai di ato ef heddyw? Nid yw hi na newyddloer na Sabboth. Hithau a ddywedodd, Pob peth yn dda. Y mae yn amlwg oddiwrth eiriau y gwr fod lle addoliad, ac amserau addoliad, gan y proffwyd ar fynydd Carmel,

fod ganddo allor yno i Dduw Elias, dichon hen allor cymanfa fawr y fuddugoliaeth ar broffwydi Baal; ac y mae'n amlwg fod credinwyr o bell ac agos yn cyrchu yno, yn enwedig ar y newyddloerau a'r Sabbothau, i ymgyngori ag ef, ac â Duw trwyddo ef. Yr oedd y gwr yn rhyfeddu ei bod hi am fyned yno y pryd hyny, gan nad oedd "na newyddloer na Sabboth;" ond amlygodd hi yn deimladwy, ond yn foneddigaidd iawn fod bryd ei chalon ar fyned, ac y byddai y daith, 'er yn un o gryn lafur, er daioni; ac felly ni cheisiodd y gwr ei lluddias i fyned i'r gymdeithas grefyddol, er ei bod yn ddiwrnod anarferol. Yna hi a gyfrwyodd yr asyn, ac a ddywedodd wrth ei llanc, Gýr, a dos rhagot, nac aros am danaf fi i farchogaeth onid archwyf it. Yr oedd yn wraig gref o ran corff a meddwl a chrefydd, yn un o ddyfais ac o yspryd ac ymroad. Felly hi a aeth, ac a ddaeth at wr Duw i fynydd Carmel, a phan welodd gwr Duw hi o bell, efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was, wele y Sunamees hono. Rhed yn awr, atolwg, i'w chyfarfod, a dywed wrthi hi, A wyt ti yn iach? A ydyw dy wr yn iach? A ydyw'r bachgen yn iach? Dywedodd hithau, Iach. Nid oedd hi ddim am ymdroi i esbonio'r amgylchiad i Gehazi. A phan ddaeth hi at wr Duw i'r mynydd, hi a ymaflodd yn ei draed ef, a Gehazi a nesaodd i'w gwthio hi ymaith. A gwr Duw a ddywedodd, Gad hi yn llonydd, canys ei henaid sydd ofidus ynddi, a'r Arglwydd a'i celodd oddiwrthyf fi, ac nis mynegodd i mi. Gallasai Gehazi wybod ei bod hi mewn trallod, ac yr oedd yn bur fyrbwyll a nwydwyllt, neu yn rhithsanctaidd, pan yr oedd am ei gwthio hi ymaith. Dichon ei fod wedi sori a moni wrthi, eisiau ei bod wedi ymgrymu iddo ef, ac ymaflyd yn ei draed ef, a dywedyd ei holl neges wrtho ef, gan ei fod ef wedi rhedeg i'w chyfarfod hi, ac wedi ymholi am ei hiechyd hi a'i theulu. Yna hi a ddywedodd wrth wr Duw, A ddymunais i fab gan fy Arglwydd? Oni ddywedais, na thwylla fi? Yna efe a ddywedodd wrth Gehazi, Gwregysa dy lwynau, a chymer fy ffon yn dy law, a dos ymaith: o chyfarfyddi â neb, na chyfarch iddo, ac o chyfarch neb di, nac

ateb ef, a gosod fy ffon i ar wyneb y bachgen. Deallodd y proffwyd neges y wraig ar haner gair, cyn iddi yn brin ddechreu agor yr hanes, ac archodd i Gehazi redeg i Sunem, a gosod y ffon ar wyneb y bachgen; ond yr oedd enaid y bychan wedi myned yn rhy bell i Gehazi fedru ei alw yn ol er cael ffon y proffwyd yn ei law. Gwyddai y fam hyny, a dywedodd wrth y proffwyd, Fel mai byw yr Arglwydd, a byw dy enaid di, nid ymadawaf fi a thi; ac efe a gyfododd, ac a aeth ar ei *hol hi.* Beth bynag oedd ei brysurdeb a'i ludded, ni fedrai omedd cais ffydd y wraig gymwynasgar o Sunem. Yr oedd Gehazi yn gallu rhedeg yn llawer cyflymach na hwy, ac aeth o'u blaen, a gwnaeth yn ol cyfarwyddyd y proffwyd, ond ni ddadebrodd y bachgen. Ni ollyngai angau ei ysglyfaeth tyner wrth i Gehazi fydol ddangos y ffon iddo. A phan ddaeth Eliseus i mewn i'r ty, wele y bachgen wedi marw, yn gorwedd ar ei wely ef: felly efe a aeth i mewn, ac a gauodd y drws arnynt ill dau, ac a weddiodd ar yr Arglwydd; ac efe a aeth i fyny, ac a orweddodd ar y bachgen, ac a osododd ei enau ar ei enau yntau, a'i lygaid ar ei lygaid ef, a'i ddwylaw ar ei ddwylaw ef, ac efe a ymestynodd arno ef, a chynesodd cnawd y bachgen, ac efe a ddychwelodd, ac a rodiodd yn y tŷ i fyny ac i waered, ac a aeth i fyny ac a ymestynodd arno ef, a'r bachgen a disiodd hyd yn seithwaith, a'r bachgen a agorodd ei lygaid. Y mae yn amlwg fod y proffwyd yn teimlo mwy o ryddid ac o nerth wrth weddio yn ddirgel, wedi cau y drws arno, heb neb yno gydag ef ond y bachgen marw a'r Duw byw, na phe buasai y cymydogion wedi ymdyru yno, a'r teulu yno. Nid oedd neb yn yr ystafell gydag ef pan yr oedd yn ymdrechu â Duw, na'r tad, na'r fam, na'i was, na neb arall. Yr oedd ei ffydd yn gref pan yn cychwyn o Carmel, ac y mae'n eglur fod gweddi ei ffydd yn myned gryfach gryfach. Nid gosod ei ffon ar wyneb y bachgen, a chefnu ar ol y cynyg cyntaf, a wnaeth; ond rhoddi ei enau ar ei enau, a'i lygaid ar ei lygaid, a'i galon ar ei galon, ac ymestyn arno; ac fel yr oedd cnawd y bachgen yn cynhesu, yr oedd ei ffydd yntau yn cryfhau ei gafael;

a phan oedd yn rhodio i fyny ac i waered rhwng yr ymestyniad cyntaf a'r ail ymestyniad, yr oedd o hyd yn gwella gafael ei ffydd yn nerth a gras yr Anweledig, a gorchfygodd, a chafodd y fendith. Yr oedd yr odfa hono, yn ei ystafell fechan yn Sunem, yn werth dyfod o Carmel yno. Pwy all ddirnad ei ddedwyddwch a'i orfoledd pan glywodd y bachgen yn tisian, ac yn tisian hyd yn seithwaith, a phan y gwelodd y bachgen yn agoryd ei lygaid? Efe a alwodd ar Gehazi, ac a archodd iddo alw y fam yno, a hi a ddaeth. Dywedodd yntau, Cymer dy fab. A hi a aeth i mewn, ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ymgrymodd hyd lawr, ac a gymerodd ei mab, ac a aeth allan. Ofer fyddai i ni geisio darlunio ei theimladau. Atebwyd ei gweddi. Gwobrwywyd ei ffydd. Bytholwyd ei choffadwriaeth. Yr oedd yn anwylach ganddi am Dduw, ac am ei air, ac am ei orsedd, ac am ei broffwyd, ac am ei achos, nag erioed o blaen; a phan gafodd hi ei bachgen hoff, yn y dull rhyfedd hwnw, yr ail waith, gan Dduw, yr oedd yn dlysach yn ei golwg nag erioed, ac yr oedd yn fwy penderfynol nag erioed i'w fagu i'r Arglwydd. Buasem yn hoffi gwybod hanes bywyd bachgen mor uchel ei freintiau, ond nid yw ei hanes i'w gael. Y mae lle i gasglu iddo gofio drwy ei oes y cûr mawr yn ei ben pan ar faes y fedel, a phan yn cael ei gario i'r tŷ, a phan yno ar lîn ei fam, a'r olwg a gafodd ar Eliseus pan yr agorodd ei lygaid o hûn angau, ac am deimladau a geiriau ac agweddau ei fam pan yr aeth allan yn ei llaw o ystafell y proffwyd. Diamheu i'r adgofion am yr amgylchiad ddylanwadu ar ei brofiad, a diamheu i'r amgylchiad ddylanwadu hefyd ar y teulu, ac ar y cymydogion; ond nid yw y Beibl yn rhoddi i ni ddim o'r manylion.

VIII. Un o'r pethau mawrion nesaf a wnaeth Eliseus oedd iachau gwahanglwyf Naaman, tywysog llu brenin Syria. Yr oedd Naaman yn wr mawr yn ngolwg ei arglwydd. Yr oedd yn anrhydeddus yn y llŷs, ac yn y fyddin, a thrwy yr holl wlad; oblegyd trwyddo ef, trwy ei gyngor a'i gadernid ef, yr oedd yr Arglwydd wedi rhoddi ymwared i Syria mewn adeg o

gyfyngder. Yr oedd yn wr cadarn, nerthol, o gyfansoddiad cryf, o gorff hardd golygus, o galon wrol, o feddwl cyflym, o araeth ffraeth synwyrol, ac o foes ac agwedd gwir dywysogaidd : "ond yr oedd yn wahanglwyfus." Yr oedd afiechyd brwnt anaele wedi gafaelyd ynddo. Y mae clefydau a thrallodion yn medru eu ffordd i balasau pendefigion, ac felly yr oedd gwahanglwyf Naaman yn difwyno ei holl anrhydedd, yn ysu ei holl gysuron, yn dyrysu ei holl gynlluniau, ac yn gwywo ei holl obeithion. Yr oedd ei wahanglwyf wedi trechu doniau a medr offeiriaid Rimmon, a meddygon penaf holl wlad Syria. Yr hyn a'i cynhyrfodd i droi ei wyneb tua gwlad Israel i chwilio am feddyginiaeth, oedd cyngor caethforwyn ieuanc o wlad Israel oedd yn gwasanaethu ei wraig. Ni ddywedir o ba le yn Israel yr oedd wedi dyfod, nac i ba lwyth y perthynai ; ond yn unig fod byddinoedd anrheithgar o Syria wedi ei chaethgludo o'i gwlad, ac iddi gael ei chymeryd i deulu Naaman. Nid oedd ond "llances fechan," ond gwyddai yn dda am yspryd, a doniau, a gweithredoedd Eliseus ; ac er bod y Syriaid creulawn wedi ei gorthrymu hi a'i chenedl, yr oedd hi yn barod i wneud yr oll ar a fedrai er daioni iddynt hwy, ac yn enwedig er lles a chysur ei meistr a'i meistres. Yr oedd wedi cael cyfleusderau i wybod yn dda am y trallod trwm oedd gwahanglwyf Naaman yn achosi i'w deulu ; yr oedd yn teimlo drosto, a thros ei wraig a'r teulu ; a hi a ddywedodd, o galon lawn o deimlad, mewn llais ac iaith effeithiol, wrth ei meistres, O na byddai fy arglwydd o flaen y proffwyd sydd yn Samaria, canys efe a'i hiachai ef o'i wahanglwyf. Yr oedd ganddi bob hyder yn ngallu ac ewyllysgarwch y proffwyd oedd yn Samaria i'w iachau. Hysbysodd ei thystiolaeth mewn ychydig o eiriau byrion ac eglur, a gwnaethant argraff ar unwaith ar feddwl ei meistres ; ond er eglured oedd ei thystiolaeth, darfu i rywun, neu rywrai, ei cham-adrodd i Naaman ac i'r brenin. A brenin Syria a ddywedodd wrth Naaman, Dos, cerdda, a mi a anfonaf lythyr at frenin Israel. Ac efe a aeth, ac a ddug gydag ef ddeg talent o arian, a chwe' mil o aur, a deg pâr o

ddillad. Ac efe a ddug y llythyr at frenin Israel, gan ddywedyd, Yn awr, pan ddel y llythyr hwn atat ti, wele, anfonais atat ti Naaman fy ngwas, fel yr iachait ef o'i wahanglwyf. A phan ddarllenodd brenin Israel y llythyr, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ddywedodd, Ai Duw ydwyf fi, i farwhau ac i fywhau, pan anfonai efe ataf fi i iachau gwr o'i wahanglwyf? Gwybyddwch gan hyny, atolwg, a gwelwch, mai ceisio achos y mae efe i'm herbyn i. Nid oedd y gaethes fechan wedi son dim—dim haner gair—am frenin Israel, ond yn unig am y proffwyd oedd yn Samaria; eithr tybiodd brenin Syria mai trwy frenin Israel yn rhyw ddull, yr oedd Naaman i ddyfod o hyd i'r feddyginiaeth. Yr oedd y mawrion yn yr oes hono, fel mewn oesoedd ar ol hyny, yn rhy barod i feddwl mai trwy "ddwyfol swydd" y breninoedd yr oedd pob daioni i ddyfod i'w deiliaid. Pan glybu Eliseus rwygo o frenin Israel ei ddillad, efe a anfonodd at y brenin gan ddywedyd, Paham y rhwygaist dy ddillad? deued yn awr ataf fi, ac efe a gaiff wybod fod proffwyd yn Israel. Yr oedd yn ddrwg gan Eliseus fod brenin Israel wedi syrthio i'r fath brofedigaeth yn achos gwahanglwyf Naaman, ac felly parodd iddynt ei anfon ato ef. Yna Naaman a ddaeth, â'i feirch, ac â'i gerbydau, ac a safodd wrth ddrws tŷ Eliseus. Yr oedd ganddo osgordd ardderchog, yr oedd addurn ei feirch a'i gerbydau yn ysplenydd, a diamheu ei fod yn disgwyl i'r olwg arnynt effeithio yn ffafriol ar y proffwyd Eliseus; ond ni ddaeth Eliseus i'r golwg, eithr anfonodd genad, gan ddywedyd, Dos ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen, a'th gnawd a ddychwel i ti, a thi a lanheir. Yr oedd y cyngor yn un eithaf eglur a rhadlawn, ac yn hawdd ei wneud; ond Naaman a ddigiodd, ac a aeth ymaith, ac a ddywedodd, Wele mi a feddyliais ynof fy hun, gan ddyfod y deuai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw ac y gosodai ei law ar y fan, ac yr iachai y gwahanglwyfus. Yr oedd ei siomedigaeth yn fawr dros bob mesur, oblegyd ei fod wedi meddwl y buasai yn cael cyfle i ddangos ei urddas a'i ddoniau, a'i ddylanwad i'r proffwyd, ac y buasai y proffwyd yn

talu iddo yntau y foes ostyngeiddiaf. Tybiodd y buasai yn hoff iawn gan y proffwyd weled tywysog o'r fath awdurdod a'r fath olud yn dyfod i geisio ei gymorth. Yr oedd wedi tybied ynddo ei hun y buasai y proffwyd, yn ol defod swynwyr y gaudduwiau, yn ysgwyd ei law uwch ei glwyf, neu yn gosod ei law ar y fan, ac yn dweyd ei weddi uwch ei ben, ac yn ei iachau yn ol defod rhodres-waith dewiniaid Yr oedd yn glwyf dwfn i'w falchder i'r proffwyd beidio dyfod i'w olwg. Dylasai wybod fod Duw Israel bob amser yn mynu ei ffordd ei hun i weithio—ei fod yn gweithio holl drefniadau ei drugaredd yn ol cyngor ei ewyllys ei hun, a bod ei broffwydi bob amser i lefaru a gweithredu yn ol ei air a'i gyngor ef; ond yn lle ystyried hyny, ymwylltiodd Naaman, mewn yspryd hollol anheilwng o'i sefyllfa a'i gymeriad fel tywysog synwyrol o wybodaeth ac o brofiad yn chwilio am waredigaeth rhag angau; a dywedodd yn ffroen uchel yn ngwylltineb ei fyrbwylldra, a'i falchder, Onid gwell Abana a Pharpar, afonydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel? Oni allaf ymolchi ynddynt hwy ac ymlanhau? Felly efe a drodd, ac a aeth ymaith mewn digter. A'i weision a nesasant, ac a lefarasant wrtho, ac a ddywedasant, Fy nhad, pe dywedasai y proffwyd beth mawr wrthyt ti, onis gwnelsit? pa faint mwy gan iddo ddywedyd wrthyt, Ymolch a bydd lân? Effeithiodd ymresymiad boneddigaidd ac amserol ei weision er dofi llid ei ddigter. Ac efe a aeth i waered, ac a ymdrochodd saith waith yn yr Iorddonen yn ol gair gwr Duw, a'i gnawd a ddychwelodd fel cnawd dyn bach, ac efe a lanhawyd. Buasai yn drwm iawn iddo droi adref yn nwydwylltedd ei falchder, dan ymgyndynu yn erbyn trefn y nefoedd, a chynyg afonydd Damascus yn lle afon cyngor Duw. Bu yn ymyl gwneud hyny, a buasai felly yn gwrthod ei iachawdwriaeth, ac yn dewis angau; ond plygwyd ef i wrando ar lais cyngor cariad a rheswm; cydsyniodd ag ammodau trefn y feddyginiaeth; cafodd felly afael yn y fendith, ac yr oedd mewn yspryd hollol newydd ar ol cael ei lanhau. Yr oedd ganddo galon newydd yn gystal a chnawd newydd. Ac efe a ddych-

welodd at wr Duw, efe a'i holl fintai, ac a ddaeth ac a safodd ger ei fron ef, ac a ddywedodd, Wele, yn awr y gwn nad oes Duw drwy'r holl ddaear, ond yn Israel; am hyny, cymer yn awr, atolwg, rodd gan dy was. Nid oedd modd iddo amlygu mwy o feddwl ac o deimlad, mwy o barch, ac o wylder, ac o ddiolch mewn llai o eiriau. Yr oedd ei agwedd a'i araeth yn engraifft o'r fath uchaf o foneddigeiddrwydd. A phan ddychwelodd mewn yspryd a dull felly i dalu diolch, ac i gynyg ei gydnabyddiaeth, aeth y proffwyd i'w gyfarfod gan lawenhau ei weled mewn tymer mor ostyngedig a diolchgar. Ond pan oedd y tywysog yn cynyg ei rodd, efe a ddywedodd, Fel mai byw yr Arglwydd yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, ni chymeraf. A Naaman a gymellodd arno ei chymeryd; eto efe a'i gwrthododd. Yna Naaman, yn hŵyl gynesaf ei grefydd, yn llawn sêl ei yspryd mwyaf duwiolfrydig, a ddywedodd, Oni roddir yn awr i'th was lwyth cwpl o fulod o ddaear? canys ni offryma dy was mwyach boeth-offrwm nac aberth i dduwiau eraill, ond i'r Arglwydd. Gallasid meddwl y buasai yn ffyddlawn dros weddill ei oes i Dduw Israel; ac y buasai yn cyhoeddi ei enw, ac yn datgan ei wyrthiau, yn llŷs Syria, a thrwy yr holl deyrnas: ond nid oedd ei galon yn medru hollol ymwrthod â chrefydd y brenin a'i lŷs; yr oedd am gael rhyddid i fyned i dŷ Rimmon gyda'r brenin a'i bendefigion ar ddydd rhodres yr uchel-ŵyl; a dywedodd, Yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was; pan elo fy Arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i, a phan ymgrymwyf finau yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd i'th was yn y peth hyn, Caniataodd y proffwyd iddo ei ddymuniad o gael llwyth cwpl o fulod o ddaear Israel, er codi allor i Dduw Israel yn Syria, a dywedodd wrtho, pan oedd yn ymadael, Dos mewn heddwch; ac efe a aeth mewn dedwydd fwriad i beidio aberthu mwyach i dduwiau eraill, ond yn unig i Dduw Israel.

Ond, wedi iddo fyned encyd o ffordd, Gehazi, gwas Eliseus, a ddywedodd, Wele, fy meistr a arbedodd Naaman y Syriad

hwn, heb gymeryd o'i law ef yr hyn a ddygasai efe ; fel mae byw'r Arglwydd, mi a redaf ar ei ol ef, ac a gymeraf ryw beth ganddo ef. A Gehazi a ganlynodd ar ol Naaman, a phan weldodd Naaman ef yn rhedeg ar ei ol, efe a ddisgynodd oddiar y cerbyd i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd, A yw pob peth yn dda ? Dywedodd yntau, Y mae pob peth yn dda. Fy meistr a'm hanfonodd i, gan ddywedyd, Wele, yr awr hon dau lanc o fynydd Ephraim, o feibion y proffwydi, a ddaethant ataf fi, dyro iddynt hwy dalent o arian, a dau bar o ddillad· A Naaman a ddywedodd, Bydd foddlon, cymer ddwy dalent. Ac efe a fu daer arno ef, ac a rwymodd ddwy dalent o arian mewn dwy gôd, a deubar o ddillad ; ac efe a'u rhoddodd at ddau o'i weision i'w dwyn o'i flaen ef. A phan ddaeth efe i'r bwlch, efe a'u cymerth o'u llaw hwynt, ac a'u rhoddodd i gadw yn y tŷ ; ac a ollyngodd ymaith y gŵyr, a hwy a aethant ymaith. Ond efe a aeth i mewn, ac a safodd o flaen ei feistr. Ac Eliseus a ddywedodd wrtho ef, O ba le y daethost ti, Gehazi? Dywedodd yntau, nid aeth dy was nac yma na thraw. Tro annheg iawn wnaeth Gehazi, a'r achlysur o'r fath bwys i gymeriad ei feistr, ac i ogoniant ei Dduw. Yr oedd Gehazi mewn sefyllfa uchel iawn fel gwas i'r proffwyd, sefyllfa o anrhydedd ac awdurdod, sefyllfa o ymddiried pwysig, a dylanwad ëang, sefyllfa o'r rhagorfreintiau puraf a'r cyfleusderau goreu i ddysgu ac arfer egwyddorion duwioldeb, a gallasai ddyfod yn broffwyd enwog a defnyddiol pe buasai ei galon yn ffyddlawn i Dduw, ac i addysg ei athraw ; ond profodd y tro yn eglur fod ei galon ar gybydd-dod. Yr oedd wedi clywed ei feistr yn gwrthod gwobrau Naaman, ac yn eu gwrthod yn y modd mwyaf penderfynol yn enw yr Arglwydd Yr oedd yn gwybod fod gan ei feistr resymau pwysfawr dros hyny ; ond yr oedd yn beio ac yn bychanu ei feistr am eu gwrthod. Fel mai byw yr Arglwydd, ni chymeraf, meddai y proffwyd. Fel mai byw yr Arglwydd, mi a gymeraf, meddai Gehazi. Nid oedd dim modd iddo ddirmygu cymeriad a swydd y proffwyd yn fwy nag y gwnaeth wrth redeg ar ol Naaman. Dy-

feisiodd yn gyfrwys ddrwg y celwyddau mwyaf dybryd er cael ychydig o arian, a deubar o ddillad. Yr oedd wedi bwriadu a chynllunio i gael bod yn wr boneddig trwyadl yn ei ddillad newyddion o Syria, a'r dillad hyny yn rhai o'r defnyddiau goreu allasid gael yn Damascus, a chael digon o arian hefyd yn ei byrsau i ateb i'r dillad ; ond trodd ei gynllun yn siomedigaeth iddo. Gorfu iddo, yn ei bryder i geisio cuddio ei gelwydd a'i gybydd-dod, arfer cyfrwysdra hollol annheilwng o dŷ ei feistr i droi gweision Naaman yn ol o'r bwlch dirgel rhag i Eliseus eu gweled ; a chuddio y dillad a'r arian yn y tŷ rhag i'r proffwyd eu cael, a dywedyd celwydd tlawd dan grynu o flaen ei feistr wrth geisio celu ei ddichellion a'i gelwyddau blaenorol. Nid oedd dim modd i gyfrwysdra a'i gybydd-dod wneud troion mwy dianrhydeddus, a chwerw ofnadwy fu ei gospedigaeth. Yr oedd edrychiad llym y proffwyd yn trywanu ei enaid pan y dywedodd Eliseus, Onid aeth fy nghalon gyda thi, pan drodd y gwr oddiar ei gerbyd i'th gyfarfod di? A ydoedd hi amser i gymeryd arian, ac i gymeryd gwisgoedd, ac olewydd-lanau a gwinllanau, a defaid a gwartheg, a gweision a morwynion? Am hyny gwahan-glwyf Naaman a lŷn wrthyt ti, ac wrth dy hâd yn dragywydd. Nid oedd y ddwy dalent, na'r ddau bâr dillad o ddim cysur iddo pan oedd gwahanglwyf Naaman, yn holl nerth ei lid gwaethaf, wedi ymaflyd ynddo. Yr oedd mor drwm ganddo feddwl am yr arian a'r dillad ag oedd gan Achan i feddwl am y llafn aur, a'r dau can' sicl arian, a'r fantell Babylonig deg. Yr oedd mor drwm ganddo edrych arnynt ag oedd gan Judas i edrych ar ei ddeg ar hugain arian. Collodd ar unwaith ac am byth ei sefyllfa a'i swydd fel gwas Eliseus, ac aeth ymaith o'i wydd yn wahanglwyfus cyn wyned a'r eira. Maglwyd ef yn rhwyd ei gybydd-dod, diffoddodd ei ganwyll, a suddodd o'r golwg i dywyllwch barnedigaeth.

Dichon mai yr addysgiadau mwyaf effeithiol ac ymarferol i ni oddiwrth hanes iachad Naaman ydyw,

1. Y gellir bod yn ddefnyddiol yn mhob cyflwr a sefyllfa.

treisid eu gwyryfon a'u gwragedd yn mhyrth eu dinasoedd, ac yn nghynteddau eu cysegroedd.

5. Yr oedd yn ofni y caent eu difadu o ordinhadau crefydd, yr anrheithid eu teml, y dymchwelid eu halloran, yr atelid gwleddoedd eu gwyliau arbenig, y dystewid llais eu cân a'u gweddi, yr halogid eu Sabbothau, ac y dyrysid ac yr atelid yn gyfangwbl eu holl gymdeithasau a'u holl gyflawniadau crefyddol.

6. Yr oedd yn ofni y byddai i fywydau lawer cael eu colli yn y gwasgfeuon hyn, y byddai raid iddynt gau eu golygon am byth ar holl olygfeydd a rhagorfreintiau amser, a symud yn mlaen i'r byd tragywyddol, i dderbyn yn ol eu gweithredoedd.

II. Ei benderfyniad duwiol yn wyneb yr holl ofnau hyn: "Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Gellid ymofyn, Beth oedd yn ei dueddu ac yn ei alluogi i ymddiried ac i lawenychu fel hyn yn yr Arglwydd ei Dduw.

1. Yr olwg oedd ganddo ar briodoleddau cymeriad Jehofa, fel Adwr y greadigaeth, ac fel Duw rhagluniaeth ac iachawdwriaeth. Yr oedd yn ei olygu, gyda theimladau o wylder a pharch, fel Bod o berffaith burdeb, o uniondeb anmhlygadwy, o ddoethineb nad allai gyfeiliorni, o dosturiaethau diderfyn, o drugareddau tragywyddol, o nerth hollalluog, o ffyddlondeb diball, ac o wirionedd anghyfnewidiol. Yr oedd yn credu hefyd fod y Duw hwn yn Dduw iddo ef drwy gyfammod tragywyddol, ac y byddai yn Arweinydd a noddwr iddo, yn Dad a chyfaill, yn haul a tharian, yn rhan a gwobr mawr iawn, a bod y Duw hwn, yn ei gariad a'i ddoethineb, wedi trefnu "iachawdwriaeth" lawn dragywyddol ar ei gyfer, ac y codai ef yn y diwedd i "rodio ar ei uchel-leoedd."

2. Yr olwg oedd ganddo ar amcan a thuedd goruchwyliaethau cystudd. Yr oedd yn credu y byddai y gwasgfeuon oll dan oruwchreolaeth ei Dad nefol, ac y cyd-weithient er daioni iddo ef a'i gyd-gredinwyr, trwy farwhau eu llygrediaethau, a sancteiddio eu serchiadau, a dyblu eu diwydrwydd,

a gwresogi taerineb eu gweddiau, a gloywi eu grasau, ac awchlymu eu galluoedd, a chyfoethogi eu profiadau. Gwyddai na byddai y cystudd ond ysgafn, ac nad allai effeithio ond ar y corff, a phethau amser ; a gwyddai hefyd na byddai ond byr, ond am ddeng niwrnod ; na byddai y galar a'r wylofain ond megys dros "brydnawn," na byddai y dyoddef ond megys am "funud awr," mai dros "foment fechan" y byddai i'w Dad guddio ei wyneb, ond y byddai iddo drugarhau â thrugaredd dragywyddol, ac y byddai i'r trallodion baratoi ei enaid gogyfer a sefyllfa o fythol orphwysdra a gogoniant.

3. Yr olwg fawr oedd ganddo ar athrawiaeth anfarwoldeb a sefyllfa ddyfodol. Yr oedd yn credu fod ei enaid yn anfarwol, fod ei gyflwr yn ddiogel, a'i fod yn etifedd llawenydd diddarfod. Yr oedd yn teimlo felly y gallai ganu mewn cystuddiau, a gorfoleddu mewn gorthrymderau, a gobeithio pan y byddai yn marw. Yr oedd yn hyderus y cai godi ei ben yn nghanol holl ryfeddodau gogoneddus y farn fawr, ac y cai fwynhau digrifwch yn oes oesoedd, gydag angylion a saint, ar ddeheulaw Duw ei Iachawdwr. Gallwn ymofyn yn

III. Am ei reswm dros gyhoeddi ei benderfyniad. Yr oedd ei awen gref gynes yn ei eirio ar fesur Salm, neu anthem, ac yr oedd yn cyflwyno ei gân "I'r pencerdd ar ei offer tannau," er i'w Salm gael ei hadrodd a'i chanu yn y gynulleidfa. Yr oedd yn dymuno gwneuthur hyn yn

1. Er mawrygu a derchafu enw ei Dduw. Yr oedd yn teimlo mai ei ddyledswydd a'i fraint oedd anrhydeddu cymeriad llywodraeth ei Dduw. Yr oedd felly am ddatgan ei dystiolaethau a'i farnedigaethau, ac am gyhoeddi ei drugareddau a'i waredigaethau, mewn gobaith y gallai drwy hyny helaethu a lliosogi cylchoedd ei foliant a'i addoliad.

2. Er ei les a'i gysur ei hun. Gwyddai mai wrth dderchafu a chanmol gallu, a thrugaredd, a ffyddlondeb ei Dduw, y cai y gwaith hyfrydaf a phuraf i holl alluoedd ei enaid, a holl serchiadau ei galon. Gwyddai nad allai gael unrhyw ymarferiad gwell er melysu ac effeithioli ei ddoniau, er cryfhau a gloywi

ei rasau, ac er helaethu ei ddefnyddioldeb. Gwyddai mai trwy y fath foddion y gallai orchfygu ei lygredigaethau a'i wendidau, ei amheuon a'i ofnau, a phuro a chynyddu ei gysuron, ac mai hyny a beraroglai ei enw a'i siampl a'i goffadwriaeth ar ol iddo farw.

3. Er addysg ac er calondid i eraill. Yr oedd ganddo sail i obeithio y byddai i'w ddarluniadau ef o gymeriad ei Dduw gynhyrfu eraill i astudio ei berffeithiadau; y gallai ei farn a'i brofiad ef am wagedd mwynderau daear, dueddu eraill i ystyried eu gwagedd; y gallai ei benderfyniad ef i ymddiried yn yr Arglwydd, ac i lawenychu yn ei iachawdwriaeth, galonogi eraill i roddi eu hyder a'u goglud arno; ac y gallai ei ddymuniadau ef am wynfyd mewn byd anfarwol gynhyrfu eraill i feddwl mwy am y byd tu draw i'r bedd, ac i barotoi gogyfer â'r mwynhad o wynfyd didranc yn y nefoedd.

### CYMHWYSIAD.

1. Y mae yn ddychrynadwy i feddwl am gymeriad ac am gyflwr yr annuwiol. Gall ef "lawenychu" a bod yn "hyfryd" mewn tymhorau o lwyddiant, pan y bydd ei ffigysbren yn blodeuo, a'i winwydd yn ffrwytho, a gwaith ei olewydd heb ballu, a'i feusydd yn rhoddi bwyd, a'r praidd yn ei gorlan, a'r eidionau yn eu beudai; ond pan y daw gauaf oer afiechyd ac adfyd y mae ei lawenydd yn darfod, a'i holl hyfrydwch yn diflanu. Y mae heb gân, heb gysur, heb orfoledd, heb dawelwch. Nid yw wedi arfer troi at Dduw i ymbil am ei drugaredd, ac i bwyso ar ei nerth, ac o ganlyniad y mae heb obaith am unrhyw ddiddanwch na chynaliaeth.

2. Nid all dim fod yn fwy hyfryd na thangnefedd a llawenydd y credadyn mewn adeg o adfyd a galar. Y mae ei glywed yn canu yn y nos dymestlog, "Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth," yn synu angylion, ac y mae peroriaeth ei gân yn codi drwy dwrf y dymestl yn anrhydedd i enw y Gwaredwr, ac yn foddhad i'w feddwl.

3. Os gall y Cristion fel hyn "lawenychu" mewn trallodion, tra yma yn y cnawd, yn nghyraedd gwendidau a llygredigaethau y byd drwg presenol, pan ar ei bererindod, ar lwybrau dyrus geirwon, mewn lleoedd anial, ac yn nghanol gelynion, beth fydd ei lawenydd pan y bydd wedi cyrhaedd i ben ei daith? Rhaid y bydd yn anrhaethadwy fawr a gogoneddus ar ol iddo gael ei ddwyn yn ddiogel, drwy y tymestloedd a'r tònau, i drigfanau tawel y nefoedd, mewn gwlad o berffaith oleuni a phurdeb, a gorphwysdra a llawenydd; lle y mae myrddiwn o angylion, a chymanfa a chynulleidfa y rhai cyntafanedig, lle y mae ysprydoedd y cyfiawnion oll i gydgyfarod i gael eu cyd-berffeithio, lle y mae Iesu yn teyrnasu yn ein natur ni, a lle y mae gogoniant ei berson, ac urddas ei swyddau cyfryngol, a llawnder ei iachawdwriaeth yn dyfod yn fwy-fwy i'r golwg; lle y mae Duw oll yn oll, a'r credadyn yn cael edrych ar ei wyneb mewn cyfiawnder, ac yn cael ei lawn ddigoni yn y mwynhad o oludoedd ei gariad a'i drugaredd.

---

## NID AMLYGWYD ETO BETH A FYDDWN.

"Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw: oblegyd hyn nid edwyn y byd chwi, oblegyd nid adnabu efe Ef. Anwylyd, yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo: oblegyd ni a gawn ei weled ef megys ag y mae. Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur."—1 Ioan 3. 1—3.

1. Arwydda y geiriau hyn, Fod breintiau o anrhaethol werth "Yr awr hon" yn meddiant credinwyr. "Yr awr hon meibion i Dduw ydym." Y maent wedi eu codi o sefyllfa ddrwg, isel, druenus, i sefyllfa dda, uchel, ddedwydd, anrhyd-

eddus. Buont yn dlodion heb ddim, ond y maent wedi eu dwyn i afael cyfoeth anchwiliadwy. Buont yn gaethion yn nghadwynau pechod, wedi ymddyrysu yn rhwydau llygredd, dan lywodraeth Satan ; ond y maent wedi cael eu rhyddhau, drylliwyd yr iau, a thorwyd y cadwynau. Buont yn euog dan gondemniad deddf gyfiawn y nefoedd, ond y mae'r ddamnedigaeth wedi ei symud. Buont yn aflan, ac felly yn gwbl anghymwys at bob gwaith pur, a phob cymdeithas sanctaidd ; ond cawsant eu golchi a'u santeiddio. Buont yn mhell, ond cawsant eu dwyn yn agos. Buont yn ddieithriaid a dyfodiaid, ond y maent yn awr yn gyd-ddinasyddion â'r saint, ac yn deulu Duw.

1. Y maent wedi cael eu dwyn i afael titlau y teulu, ac felly i hawl i'w cyfran o'r etifeddiaeth.

2. I gartref y teulu, at eu bwrdd, ac i'w cymdeithas, a'u cyfrinach, a'u haddoliad.

3. I yspryd y teulu, i fod yr un deimlad, yr un dymuniad a hiraeth, yr un serch a sêl, yr un ofnau a'r un llawenydd, i arfer yr un iaith, ac i hoffi yr un gwaith, ac i fwynhau yr un hyfrydwch a'r teulu.

4. I ofal Tad y teulu, i fod dan ei addysg a'i driniaethau, i gael ceryddon ei drugaredd, ac ymgeledd ei gariad, a nodded ei fraich tragywyddol ; i gyfranogi o frasder ei dŷ, a dyddanwch ei Yspryd. "Yr awr hon meibion i Dduw ydym."

II. Eu bod er hyny, er eu codiad i'r fath sefyllfa urddasol a diogel, yn agored, tra yn y byd hwn, i ddirmyg a phob gorthrymder. "Nid edwyn y byd chwi." Nid edwyn eich egwyddorion na'ch bwriadau, eich ymgais na'ch ymdrech, eich gobeithion na'ch ofnau, eich pryder na'ch gorfoledd, na'ch diogelwch na'ch etifeddiaeth. Ac nid rhyfedd ydyw hyn, oblegyd yn

1. Nid adnabu y byd Ef. Ef, eich Arglwydd gogoneddus, Ef, y Gwaredwr addfwyn, gostyngedig, cariadlawn, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid ; Ef, yr hwn a ddaeth i lawr o orsedd ei lŷs nefol i barthau isaf y ddaear, o'i balas

breninol fry i babell yn mysg dynion syrthiedig : Ef, yr hwn a ddaeth felly o'i wir ewyllys da, o'i hunan-gynhyrfiol gariad, yn llawn gras a gwirionedd, a'i galon drugarog dosturiol ar ymdori o awydd i esbonio amcanion cariad Duw, i egluro cynygion ei drugaredd, i ddadlenu peryglon cyflwr enaid euog, i ddarlunio elfenau gwir ddedwyddwch, ac i agor ffordd o gymmod â'r nefoedd; ond, nid adnabu y byd Ef, er holl dosturi ei galon, er holl burdeb ei fywyd, er holl nerth ei wyrthiau, er holl gariad ei gyfryngdod, a holl oleuni ei weinidogaeth, eithr ymgynddeiriogodd y byd yn ei erbyn, dirmygodd a diystyrodd ef, gwaeddodd, "Ymaith ag ef;" ac yn y diwedd croeshoeliodd ef ar bren melldigedig y groes.

2. Nid adnabu y byd erioed y goreuon o'r saint. Y rhai puraf a gloywaf, a mwyaf difrycheulyd, y rhai goleuaf eu meddyliau, a mwyaf cariadlawn eu calonau, a mwyaf hunan-ymwadol eu hegniadau er lles y byd. Cafodd y rhai puraf ac uchaf o honynt eu trin a'u diraddio fel ysgubion y byd, ac fel sorod pob dim ; a'u halltudio o'u gwlad, a'u gyru i grwydro mewn crwyn defaid a chrwyn geifr, yn ddiddym, yn gystuddiol, yn ddrwg eu cyflwr ; a'u traddodi i'r carcharau nesaf i mewn, ac i ddioddef arteithiau mwyaf poenus marwolaeth.

III. Fod breintiau uwch eto i ddyfod i ran y saint mewn sefyllfa ddyfodol. "Pan ymddangoso efe,"

1. Cânt fod yn dystion o ogoniant ei ail-ymddangosiad. Cânt weled holl ryfeddodau dydd adgyfodiad y meirw, a holl waith gogoneddus swydd farnol eu Harglwydd. Cânt weled ei orsedd fawr, a'i goron hardd, a'i wisg laes gyfryngol. Cânt weled y dorf ddirif ger bron ei orsedd, ac agoriad y llyfrau. Cânt weled y didol, a gosod yr annuwiol ar y llaw aswy, a'r cyfiawnion ar y ddeheulaw. Cânt glywed y ddedryd ddialwyn ol, a gweled gyru torf y law aswy i'w lle eu hun, ac arwain tyrfa y ddeheulaw drwy'r pyrth i wynfyd y nef.

2. Cânt fod yn "gyffelyb iddo." Bydd Iesu yn ei ail-ymddangosiad yn anrhaethadwy ogoneddus. Ymddengys yn ein natur ni, yr hon fydd wedi ei chodi yn ei berson ef i'r urddas

a'r gogoniant uchaf. Nid ellir traethu na dirnad mor hardd fydd Iesu y pryd hyny, a chaiff ei saint fod yn "gyffelyb iddo." Cyfnewidir eu cyrff gwael hwy, fel y gwneler hwy yr un ffurf a'i gorff gogoneddus ef.

3. Cânt "ei weled ef megys ag y mae." Y mae y fath eiriau a hyn yn tybied y cânt olwg glir arno, ar ei wyneb, a'i waith, a'i swydd, ar ei orsedd a'i osgordd, ar ei holl angylion sanctaidd, ac ar drefn, a nerth, a chyfoeth ei deyrnas; nid cael golwg dywyll, aneglur, o bell, drwy'r niwl a'r cymylau a'r lleni; ond golwg oleu heb len; byddant yno, yn ymyl, yn cael gweled a chlywed y cyfan. Clywyd rhai yn dweyd, wedi bod mewn llŷs breninol, ar ddydd coroniad, neu ryw wyl arbenig, eu bod yn bresenol; ond bod y lle a'r dorf mor fawr fel nad allent glywed y cyfan oedd yn cael ei ddweyd, na gweled yn eglur yr hyn oedd yn cael ei wneud; ond bydd y saint yn y farn yn ddigon agos, ac mewn lle uchel digon cyfleus i glywed a gweled y cyfan. Cânt "ei weled ef megys ag y mae." Y mae yr awgrymiadau geir yma am ragorfreintiau y saint yn adeg ail-ymddangosiad Iesu, yn arwyddo y bydd eu breintiau yn rhai o burdeb digymysg, nerth heb wendid, gogoniant heb anharddwch, sancteiddrwydd heb lygredd, gwisgoedd gwynion heb arnynt na brycheuyn na chrychni na dim o'r cyfryw. Byddant yn freintiau o bob amrywiaeth, pethau i lygad, a chlust, a theimlad, a meddwl y corff anllygredig. A byddant yn bethau o barhad diderfyn. Tra y bydd Iesu yn fyw, byw hefyd fydd ei saint, a chânt fyw a theyrnasu gydag ef, cânt fod yn "gyffelyb iddo," a chânt "ei weled megys ag y mae."

IV. Fod breintiau y sefyllfa ddyfodol yn rhy ogoneddus i neb yn y byd yma gael llawn amlygiad o honynt. "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn."

1. Y mae cyfryngau ein byd ni yn rhy weiniaid i'w gosod allan. Y mae geiriau, a dammegion, a barddoniaeth, a cherddoriaeth, a lliwiau, ac arwydd-luniau a holl gyfryngau ein byd ni yn rhy weiniaid ac anmherffaith i osod allan eu gogoniant. Y mae ambell iaith yn gyfoethog iawn o eiriau, y geiriau

mwyaf darluniadol, ac y mae ambell iaith wedi cael ei choethi a'i chyfoethogi yn fawr gan ieithwyr dysgedig ; ond nid oes yr un iaith yn ein byd ni yn ddigon cyfoethog ei geiriau, nac yn ddigon cyfoethog ei chydmariaethau i osod allan ogoniant cyflwr a gwaith a chymdeithas y saint yn y byd a ddaw. Gellir son am wisgoedd gwynion, am wleddoedd o basgedigion breision a gloywin puredig, am fryñiau a meusydd blodeuog a gwyrddion, am goed o fythol wyrddlesni, am ffynonau bywiol o ddyfroedd, am beraroglau iachusol, am drigfanau godidog, am delynau mewn cywair, am demlau o feini dymunol, am byrth o farmor, a ffenestri o risial, a heolydd o aur ; ond y mae pob darluniad felly yn rhy fyr i amlygu llawn ogoniant y byd a ddaw.

2. Nid oes yr un galon yn y byd yma yn ddigon cref, yn ddigon pur a digon ysprydol i allu dal y llawn amlygiad o ogoniant y saint yn y nef. Byddai pwys y gogoniant yn rhy drwm iddi. Suddai yr enaid sancteiddiaf dan y fath bwys, a byddai yn hollol anghymwys at holl ofalon, a holl orchwylion daear.

3. Byddai amlygiad llawn o'r hyn a fyddwn yn anghyfaddas tra y mae plant Duw yma mewn sefyllfa prawf. Byddai yn ataliol i weithrediad eu ffydd, a'u gobaith, a'u hamynedd, a'u gwyliadwriaeth, a'u hofn duwiol. Nid ydynt tra yma ond plant dan eu hoed, ond disgyblion dan addysg eu hathraw, ond milwyr ar faes yr ymdrech, dan eu harfau, ond pererinion ar eu teithiau drwy'r anial ; a buasai amlygiad cyflawn o'r hyn a fyddant, dichon, yn ataliol iddynt fod ar eu gwyliadwriaeth, yn y llafur, ac yn dyfal-barhau mewn gweddi. Felly, "nid amlygwyd eto beth a fyddwn."

V. Fod y breintiau hyn oll, y rhai sydd ganddynt mewn gafael, yn gystal ar rhai sydd ganddynt mewn addewid, yn deilliaw o "gariad" y Duwdod. "Gwelwch pa fath gariad a roddes y Tad arnom." Awgryma y geiriau ei fod yn ddigyffelyb.

1. Cariad rhad anhaeddedig ydyw. Cariad pur, penargl-

wyddiaethol, hunan-gynhyrfiol. Nid oedd dim yn ei wrthrychau yn teilyngu y fath gariad.

2. Cariad drudfawr ydyw Felly y carodd, fel y rhoddodd ei unig-anedig Fab i aberthu ei hun, i fod yn Iawn dros gamwedd dyn, i ddatód gweithredoedd diafol, ac i agor ffordd rydd i burdeb a gwynfyd y nef.

3. Cariad hollgyfoethog ydyw, wedi darparu pob cyflawnder ar gyfer derbynwyr ei gynygion. Trefnodd er eu dwyn i afael pob digonedd. Nid oedd dim yn rhy fawr gan y cariad yma i'w wneud, na dim yn rhy dda ganddo i'w roddi. Yr oedd am gael iachawdwriaeth gyflawn i bob credadyn a nefoedd ddysglaer, gyfoethog, dawel, drefnus iddo; ac yr oedd am ei godi i'r cyflwr uchaf a pherffeithiaf.

VI. Fod y "gobaith" am y breintiau hyn, y gobaith am gael "gweled Iesu fel y mae," a bod yn "gyffelyb iddo," yn "puro" ei feddianydd. "Y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur." Y mae gobaith am y nefoedd yn y galon, yn ei phuro; nid yn ei gwneud yn ddiog, yn ddiofal, yn ddibryder, yn gellweirus, yn benrhydd; ond yn ei sancteiddio, a'i goleuo, a'i thyneru, a'i bywiocau; a bydd yr ymsancteiddio a'r ymburo yn cyfateb i nerth y gobaith. Y mae meddianydd y gobaith hwn yn cofio

1. Fod Duw'r cariad yn bur. Fod ei natur a'i gyfraith yn bur: ac y mae meddwl am gariad y Duw pur tu ag ato yn peri iddo hiraethu am fod yn bur er cael cymdeithas ag ef, ac er gallu cydymffurfio â'i ewyllys.

2. Y mae yn cofio fod holl ordinhadau efengyl Crist yn bur, ac y mae yntau am fod yn bur er cael ei lenwi o'u hyspryd, ac er profi o'u nerth ac o'u melysder.

3. Y mae yn cofio fod holl awyr y nefoedd yn bur, fod holl waith y nefoedd, a chymdeithas, ac addoliad, a mwynderau, a golygfeydd y nefoedd yn bur; ac y mae yntau am fod yn bur er esgyn yno i'w mwynhau.

CYMHWYSIAD.

1. Y mae nodau plant Duw yn cael eu darlunio yn eglur iawn yn yr adnodau cysylltiedig â'r testun. Y maent yn ofni pechu, yn caru y brodyr, yn dyner eu calon, ac yn aros yn nghymdeithas eu Duw. Ac y mae yr hwn sydd yn dwyn y nodau hyn yn blentyn i Dduw.

2. Os ydys yn blant i Dduw, ni raid ofni am y canlyniad: "Os plant, etifeddion hefyd; sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ: os ydym yn cyd-ddioddef ag ef, fel yn cyd-ogonedder hefyd. Oblegyd yr ydwyf yn cyfrif, nad yw dioddefiadau yr amser presenol hwn yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir i ni. Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni. Nid amlygwyd eto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo, oblegyd ni a gawn ei weled ef megys ag y mae."

"Nis gallaf tra yma 'n y cnawd
Ddim diodde'r caniadau sydd fry,
Mae llewyrch wynebpryd fy mrawd
Yn llawer rhy ddysglaer i mi:
Yn ol hedeg, a gadael fy nyth,
A dianc o'm carchar o glai,
Bydd digon o nefoedd dros byth
Ei weled ef fel ag y mae."

---

# IESU GRIST YR UN.

"Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."—Hebreaid 13. 8.

Iesu Grist ydyw sylfaen a sylwedd yr efengyl. Dyma un o'r dywediadau melus cynwysfawr sydd genym am dano.

I. Tybia y geiriau fod cyfnewidioldeb a darfodedigaeth yn argraffedig ar yr oll a welir.

1. Ar holl wyneb anian. Y mae yr haul yn dyfod i'r golwg, ac y mae ei oleuni a'i wres yn cryfhau fwy-fwy nes iddo ddringo i linell canol-ddydd, ac yna y mae yn gogwyddo tua'r Gorllewin, ac y mae nerth ei wres yn gwanhau nes iddo fachludo o'r golwg. Y mae y lloer yn cynyddu nes iddi gyrhaedd y "llawn," ac yna yn lleihau nes "newid." Y mae y ddaear yn troi ar ei phegynau er gwneud dydd a nos yn ddilynol, ac y mae yn rhedeg ei chylchdro blynyddol er newid ei thymorau. Gwisga am ychydig wyrddlesni ei gwanwyn, addfeda wedi hyny ei hydau a'i ffrwythau haf, ceir ei hydref wedi hyny i'w cynhauafu i ddiogelwch, yna daw gauaf ei marweidd-dra, a'i gweddwdod, a'i phenllwydni. Os daliwn ar y gwynt cawn ei fod yn dyfod weithiau o'r De, ac weithiau o'r Dwyrain, weithiau o'r Gogledd, ac weithiau o'r Gorllewin; weithiau yn awelon gweiniaid tyner, balmaidd; weithiau yn awelon cryfach, llymach, ac iachach; ac ambell dro yn gorwynt tymestlog rhuadwy yn ysgubo ymaith bron y cyfan o'i flaen. Os edrychwn drachefn ar y ffrydiau a'r afonydd, y maent weithiau yn isel, risialaidd, ddistaw yn ymdreiglo yn araf, y maent bryd arall yn llwydion, chwyddedig, ewynog, yn crych-lifeirio yn wyllt gyda thrwst mawr. Os sylwn ar y môr, y mae weithiau yn gwisgo gwên deg, dawel, a'i wyneb mor llyfndeg a'r gwydr; y mae bryd arall yn ymchwyddo, ac yn ymdoni, ac yn ymgynddeiriogi, ac yn trochioni, ac yn dygyfor yn arswydus. Y mae rhyw newid felly yn perthynu i bob peth a welir yn y greadigaeth fawr o'n hamgylch.

2. Y mae preswylwyr y ddaear o hyd yn newid. Nid ellir byth ddweyd eu bod "ddoe a heddyw yr un." Y mae cenedlaeth ar ol cenedlaeth yn cael eu symud. Nid oes neb yn awr yn aros yn y byd o'r holl genedlaethau fuont gynt yn ei breswylio. Y mae yn cael tô newydd i'w gyfaneddu bob deg mlynedd ar hugain. Y mae nerth a gogoniant ei freniniaethau yn newid yn barhaus. Y maent yn cryfhau, neu yn gwanychu. Aeth nerth yr Assyriaid i'r Mediaid a'r Persiaid. Aeth eu gogoniant hwythau yn fuan ar ol hyny i'r Groegiaid. Aeth

nerth y Groegiaid i afael y Rhufeiniaid ; ac aeth hen ymerodraeth Rhufain wedi hyny yn fil o ddarnau. Y mae rhyw newid yn perthynu o hyd i deuluoedd y byd. Rhai fu'n ddedwydd gyda'u gilydd wedi cael eu chwalu gan amgylchiadau neu gan angau ; rhai fu'n byw mewn un wlad, wedi ymfudo i wledydd eraill ; rhai fu'n weiniaid ac yn dlodion wedi dyfod yn gyfoethog ac yn gryfion ; a rhai fu'n gryfion a goludog wedi suddo i wendid a thlodi ; rhai fu'n iachus wedi myned yn gleifion, a rhai fu'n llesg ac yn glaf wedi cael adferiad iechyd. Gellir dywedyd yr un peth am bersonau, nid oes neb yn aros "ddoe a heddyw yr un ;" ond y mae pawb yn profi rhyw gyfnewidiad beunyddiol.

3. Y mae rhyw newid parhaus yn perthyn i ni ein hunain. Nis gallwn byth ddweyd ein bod "ddoe a heddyw yr un." Y mae ein hamgylchiadau tymorol yn mynych gyfnewid. Byddwn weithiau dan wên gynes haulwen llwyddiant, weithiau dan gwmwl oer aflwyddiant, weithiau yn gysurus, ac weithiau yn drallodus. Y mae ansawdd ein cyrff yn newid yn fynych. Bydd y corff weithiau yn gryf, yn heinyf, yn wridog, yn iachus, yn llawn o nodd a nerth bywyd ; bydd bryd arall yn wan ac yn welw, yn llesg a gwywedig. Y mae ein profiadau yn mynych newid. Bydd y galon weithiau yn llawn goleuni, a chariad, a grym, a gwroldeb ; bydd bryd arall dan gwmwl yn llesg ac ofnus. Byddir weithiau yn gweled cyrau Canaan, y tir pell, y Brenin yn ei degwch, a'r etifeddiaeth nefol fry yn ei blodau a'i phrydferthwch, bryd arall bydd cymylau a thymestloedd yn codi ac yn cynhyrfu rhyngom â gwlad yr etifeddiaeth. Y mae pob peth daearol yn gyfnewidiol. Ymddangosiad gwyneb anian. Cenedlaethau preswylwyr y byd. A ni ein hunain. Ond yn

II. Y mae Iesu Grist yr un, ddoe a heddyw, ac yn dragywydd. Yr oedd Paul yn ieithydd gwych, yn ysgrifenydd coeth, eglur. Yr oedd wedi dysgu y ffordd i eirio ei ddywediadau yn ol y gystrawen oreu ; ond nid yw wedi geirio adnod fer ein testyn yn y modd goreu. Y mae ôl diofalwch ar osodiad ei

eiriau. Dylasai ddweyd "Iesu Grist yr un ddoe a heddyw, ac yn dragywydd;" neu gallasai ddweyd, "Iesu Grist ddoe a heddyw, ac yn dragywydd, yr un." Dylasai y geiriau "yr un" fod o flaen y gair "ddoe," neu ar ol y gair "tragywydd:" wrth osod y geiriau "yr un" yn y canol, yr oedd yn gwneud ei arddull yn anystwyth. Dichon fod ei feddwl yn benaf, wrth ddechreu yr adnod, ar yr amser a aeth heibio, ac ar yr amser presenol, neu mai "ddoe a heddyw" oedd yn benaf yn ei olwg, fel pe dywedasai, "Ddoe," neu, trwy holl ddydd y tadau, yr yr oedd Iesu Grist yr un; a "heddyw," trwy ein dydd ninau, y mae Iesu Grist yr un. Y mae ddoe a heddyw yr un. Ond yn lle gadael y dywediad yn y fan yna, cofiodd am yr oesau dyfodol, a chasglodd ei anadl a'i nerth i ychwanegu er cysur i'w oloeswyr—"ac yn dragywydd." Ac, wrth ddarllen, neu adrodd yr adnod gellir cryfhau y pwyslais o air i air wrth fyned yn mlaen, Iesu Grist yr un *ddoe* i'r tadau, a HEDDYW i ninau, ac yn DRAGYWYDD i'n holoeswyr.

Gellir gwneud dau neu dri o nodiadau eglurhaol ar ei ddywediad gwerthfawr.

1. Nad oedd gan Iesu Grist yr un corff mewn undeb a'i natur ddwyfol er dyddiau tragywyddoldeb. Arfaethodd o'r dechreuad wisgo ein natur ni, ond yn nghyflawnder yr amser, pan oedd tros bedair mil o flynyddoedd o oes y byd wedi myned heibio, pan oedd "awr" y proffwydoliaethau a'r cysgodau wedi dyfod, y darfu iddo yn weithredol ymbriodi â natur dyn; ond ni rydd y natur ddynol o'r neilldu byth mwyach.

2. Nid ar unwaith y daeth cymeriad cyfryngol Iesu Grist i'r golwg; ond o radd i radd, dan wahanol oruchwyliaethau, a thrwy wahanol foddion. Yr oedd Iesu Grist yr un, ond yr oedd ei ogoniant yn dyfod fwy fwy i'r golwg. Daeth gradd fechan o ogoniant ei gymeriad cyfryngol i'r golwg yn ngardd Eden ar roddiad yr addewid gyntaf; daeth mwy ar ol hyny yn amser Abel, a Seth, ac Enoch, a Noah, a Melchisedec. Daeth mwy eilwaith i olwg Abraham ar ben Moriah, a mwy fyth i Moses wrth y berth, a mwy na hyny yn amser Esay a

Daniel, a mwy nag erioed yn amser y Doethion o'r Dwyrain, a Simeon ac Anna, a mwy drachefn yn nosbarth y Doctoriaid yn y deml, a mwy drachefn ar fynydd y gweddnewidiad, ac yn yr oruwch-ystafell, ac yn ngardd Gethsemane, ac ar Galfaria yn oriau y gwyrthiau, ac ar fore yr adgyfodiad, ac ar fryn yr esgyniad. Trefn anfeidrol ddoethineb oedd gwneuthur dadleniad graddol o bwysfawredd a gogoniant cyfryngdod Iesu.

3. Nid ar unwaith y mae Iesu yn cyflawni, neu yn perffeithio, gwahanol ranau ei waith mawr fel Cyfryngwr. Yn y cyngor bore, cyn seiliad y byd, yr ymrwymodd mewn cyfammod i gymeryd y gwaith gogoneddus mewn llaw. Draw yn Eden, yn more'r byd, y dechreuodd agor a datguddio trefn fawr ei drugaredd. Ar ei groes yn nghyflawnder yr amser y gwnaeth Iawn anfeidrol i'r llywodraeth drwy ei aberthu ei hun. Dan oruchwyliaethau y milflwyddiant y mae yn bwriadu enill teyrnasoedd y byd i fod yn eiddo iddo ei hun. Yn niwedd amser y mae yn bwriadu codi'r meirw, a barnu'r byd, a chloi ei elynion mewn tywyllwch, a chymeryd ei garedigion ato ei hun i ogoniant. Ond er cydnabod y tri pheth crybwylledig—sef, nad oedd ganddo yr un corff hyd amser preseb Bethlehem—mai nid ar unwaith y daeth gogoniant ei gymeriad i'r golwg—ac mai nid ar unwaith y mae yn cyflawni gwahanol ranau ei waith cyfryngol, eto y mae athrawiaeth Paul yma yn gadarn, fod Iesu Grist yr un ddoe a heddyw ac yn dragywydd. Yr un yn

1. O ran nodweddau, neu briodoleddau hanfodol ei natur. Y mae ei gariad o hyd yr un. Y mae ei fynwes yn llawn bob amser o dosturi, a thrugaredd, ac ewyllys da. Y mae ei gariad byth yn llawn, yn ddidrai, yn ddiderfyn, heb ball, na dim cyfnewidiad. Y mae ei santeiddrwydd o hyd yr un. Ni bu dim llygredd, na thwyll, na phechod erioed ynddo, na chyn ei ymgnawdoliad, na phan oedd yn nghanol profedigaethau ei sefyllfa o ddarostyngiad. Yr oedd ei anian o hyd yn berffaith bur; ac yr oedd ei farn a'i deimlad am bechod bob amser yn ddigyfnewid. Y mae ei gyfiawnder o hyd yr un. Safodd yn

ddiysgog dros gyfreithiau llywodraeth ei Dad. Er ei fod yn drugarog, gwell oedd ganddo farw nag i'r gyfraith gael unrhyw gam wrth iddo drugarhau wrth bechadur. Y mae ei ffyddlondeb o hyd yr un. Y mae bob amser, yn mhob man, ac ar bob amgylchiad yn ffyddlawn i'w Dad a'i lywodraeth, ac i holl ammodau trefn iechydwriaeth, ac i'w holl addewidion i'r sawl a ymddiriedant ynddo.

2. Y mae yr un o ran ei swyddau, neu hanfodol ranau ei gymeriad cyfryngol. Y mae yn Frenin tragywyddol, digyfnewid; ac yn gwisgo agoriadau y llywodraeth ar ei ysgwydd dan bob goruchwyliaeth, a thros yr holl genhedlaethau. Y mae yn Offeiriad tragywyddol. Efe yn unig sydd i gyfryngu ger bron gorsedd danllyd llys ei Dad dros bechaduriaid yn nghyflwyniad eu deisyfiadau; ac efe yn unig hefyd sydd i gyfryngu dros yr orsedd yn ngweinyddiad trugaredd i bechaduriaid. Y mae hefyd yn Broffwyd tragywyddol. Efe sydd i esbonio i holl ddeiliaid llywodraeth ei Dad ewyllys, a chyfreithiau, a chyfarwyddiadau, a holl addewidion a bygythion y nefoedd.

3. Y mae yr un o ran athrawiaethau, neu egwyddorion mawrion sylfaenol ei efengyl. Nid oes eisiau newid dim arnynt, na thynu dim oddiwrthynt, nac ychwanegu dim atynt. Y maent wedi eu cyhoeddi yn eglur, ac y maent oll yn dragywyddol safadwy,—sef uniondeb diwyrni llywodraeth ei Dad; ac na chaiff yr un iod, nac un tipyn o'r gyfraith ballu; fod dyn yn bechadur hunan-ddinystriol; nad oes dim modd maddeu i'r euog heb gael Iawn anfeidiol; fod Duw wedi trefnu a derbyn yr Iawn; y rhaid i'r enaid bwyso ar yr Iawn cyn y gellir ei gyfiawnhau; na chollir neb a bwysa ar drefn trugaredd Duw; y collir byth holl ddirmygwyr y drefn; y myn Duw ei ogoniant oddiwrth ei holl oruchwyliaethau. Y mae'r holl egwyddorion mawrion a gyhoeddodd yn ddigyfnewid, o hyd yr un, yn dragywyddol safadwy. Cyflawnir pob bygythiad, daw pob addewid i ben, a bydd cyfraith y nef yn gadarn ac anrhydeddus byth.

III. Y gwersi ymarferol a ddysgir i ni oddiwrth yr athrawiaeth fawr fod Iesu Grist yr un.

1. Fod ei achos yn anfarwol. Y mae ei deyrnas yn ddisigl. Ofer i byrth uffern ymgynddeiriogi, ac ymarfogi, ac ymfyddino yn erbyn ei achos, ni lwyddant. Gwnaed ei elynion yr hyn a wnelont, llwyr ofer iddynt geisio gwrthsefyll ei awdurdod ef, na dadsylfaenu ei orsedd ef, na ddirymu ei egwyddorion ef, na lladd ei achos ef; ac y mae hyn yn galondid anrhaethol i weddio ac i weithio o blaid ei efengyl.

2. Fod Iesu Grist yn wrthrych addas i'r credadyn ymddiried ynddo byth bythoedd. Gall anturio rhoddi ei holl oglud arno, ac ymddiried ei fywyd yn ei law; a dylai ei garu a'i ganmol tra byddo byw. Efe ydoedd gwrthrych ffydd ac ymddiried y tadau enwog dan yr holl oruchwyliaethau a aethant heibio; ac ni siomwyd neb o honynt Yr oedd ef gyda hwy bob amser i roddi iddynt o orfoledd ei iechydwriaeth. Yr oeddynt yn llawn o ddyddanwch ei Yspryd pan yn y carchar nesaf i mewn, pan dan y gwialenodau a'r ffangellau a'r cerig, pan yn ffau y llewod, ac yn y ffwrn dân. Yr oeddynt yn gallu llawenychu yn mhob gorthrymder, a gorfoleddu ar bob gelyn, wrth ymddiried i'w addewid, ac ymnerthu yn ei ras a'i allu ef. Ond i ninau ddilyn eu siampl ni chawn byth siomedigaeth.

3. Nad oes neb na dim a welir ar y ddaear yn werth ymddiried ynddynt. Gall goludoedd y byd ehedeg ymaith. Gall dynion y byd farw, neu droi yn siomedig o ran eu gallu, neu eu ffyddlondeb. Gall ein calon ein hunain ein twyllo. Bydd cyflwr y rhai a ymddiriedant yn eu cyfiawnderau eu hunain, neu mewn unrhyw fraich o gnawd, yn druenus ofnadwy yn y diwedd; oblegyd y maent felly yn dibrisio gras a nerth a ffyddlondeb yr Hwn sydd yr un ddoe a heddyw, ac yn dragywydd.

## Y SARPH BRES.

"Ac megys y derchafodd Moses y sarph yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid derchafu Mab y dyn: fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."—Ioan 3. 14, 15.

Ceir yr hanes sydd mewn golwg yn Numeri 21. 4—9. Y mae yn dra addysgiadol. Nodir yn yr hanes

1. Bechadurusrwydd y bobl. Llefarasant yn erbyn yr Arglwydd eu Duw, eu Harweinydd, eu Noddwr, eu Cymwynaswr; ac yn erbyn Moses, eu cynghorwr ffyddlawn, yr hwn oedd bob amser yn barod i eiriol drostynt, gan ddymuno eu lles; ac yn erbyn y manna, y bara o'r nef, bara angylion, ag oedd yn newydd bob dydd, ac yn iachus, a blasus, a maethlawn; ac yn erbyn holl gynlluniau, a threfniadau, ac amcanion Rhagluniaeth y nefoedd.

A chanmolasant yr Aipht, gwlad eu gorthrymder, tŷ eu caethiwed, maes eu caeth-lafur, lle yr oeddynt wedi dyoddef pob dirmyg a cham a chreulondeb. Yr oeddynt, nid yn unig yn meddwl yn galed am eu Duw a'i Ragluniaethau a'i ddeddfau, ond yr oeddynt yn llefaru yn hyf, yn uchel, yn gyhoeddus; yn llefaru yn eu pebyll, wrth eu teuluoedd a'u ceraint, ac yn y pyrth wrth y gynulleidfa, ac yn y llŷs wrth y tywysogion, ac yn y cysegr yn wyneb eu Duw. Nodir yn yr hanes yn

2. Ddigofaint Duw oblegyd eu pechod. Yr oedd yn ffieiddio eu hyspryd, a'u hiaith, a'u hymddygiad. Y mae yn casau pob rhyfyg a gwrthnysigrwydd felly. Y mae ganddo lawer ffordd i gospi. Gall gospi trwy ddiluw, trwy dân a brwmstan, trwy dymestloedd llifeiriol, trwy sychder, trwy newyn, trwy'r cleddyf, trwy heintiau, trwy fwystfilod rheibus, trwy y locust, a'r lindys, a phrŷf-y-rhwd, a thrwy angylion marwolaeth. Y moddion a ddefnyddiodd i'w cospi yn yr amgylchiad yma oedd

anfon seirph tanllyd hedegog i'w mysg. Daethant yn heidiau lliosog o flaen y gwynt o'r anialwch, gan ymosod ar eu gwersyll, fel yr oedd yn anhawdd iawn eu hysgoi. Yr oeddynt yn cael eu galw yn seirph "tanllyd," dichon, oblegyd tanbeidrwydd eu lliw; ac yn seirph tanllyd "hedegog," am fod ganddynt adenydd i ehedeg yn yr awyr o amgylch. Yr oedd eu brathiad yn boenus, yn llosgi fel y fflam; ac yr oedd eu gwenwyn yn angeuol: a bu feirw o Israel bobl lawer. Nodir yn

3. Gyfyngder ac ymostyngiad y bobl yn wyneb barnedigaeth mor ddychrynllyd. Yr oeddynt yn cofio ac yn cydnabod eu beiau, ac yn galaru o'u plegyd; yr oeddynt yn plygu i'r llwch i ymbil am faddeuant ac ymwared; ac yr oeddynt yn difrifol addunedu diwygio. Nodir hefyd yn yr hanes.

4. Dosturi, a doethineb, a phenarglwyddiaeth Duw yn trefnu ymwared iddynt. Trefnodd waredigaeth effeithiol. Gallasai chwalu y seirph ymaith ar unwaith; ond nid felly y gwnaeth. Gorchymynodd lunio sarph o bres, a'i chodi yn uchel ar drostan, yn ngolwg yr holl wersyll; a chyfarwyddodd bob truan brathedig i droi ei olwg am ei fywyd, ac i edrych ar y sarph bres er cael iachad.

Y mae Iesu yn ein testyn yn dysgu fod yr amgylchiadau hyny yn y diffeithwch yn gysgod o bethau ysprydol. Gallwn sylwi yn

I. Fod cyflwr poenus, peryglus Israel y pryd hyny yn ddrych o sefyllfa ysprydol dynion yn awr dan yr efengyl.

1. Y mae profedigaethau, yn heidiau lliosog, wedi cael eu magu yn llygredigaethau byd cnawd ac uffern, fel seirph tanllyd hedegog, wedi dyfod o bob cwr, i holl wersylloedd plant dynion. Y maent mor lliosog a gwybed yr heulwen, yn llenwi pob awel, yn cylchynu pob pabell, ac yn dilyn pob enaid byw.

2. Y mae pob dyn yn ddiarfogaeth, ac felly, nid yn unig yn agored i'w brathiadau gwenwynig, ond y mae wedi cael ei frathu ganddynt, a hyny drachefn a thrachefn.

3. Y mae pob brathiad yn angeuol; yn effeithio ar holl alluoedd yr enaid, ac ar holl serchiadau y galon. Y mae y

gwenwyn wedi llifo drwy yr holl gyfansoddiad, ac wedi cyrhaedd ffynhonau y bywyd. Y mae yn cyflym weithio ar y galon, weithiau yn poeni fel tân, ac weithiau yn caledu a marweiddio. Y mae yn nychu holl nerthoedd y galon, ac yn cyflym weithio eu hangau.

II. Fod y waredigaeth a drefnwyd y pryd hyny yn ddrych o iachawdwriaeth fawr yr efengyl. Yr oedd y waredigaeth ryfedd yn y diffeithwch.

1. O ddwyfol drefniad. Nid Moses na neb o dywysogion Israel, nid Aaron, na neb o'r offeiriaid, nid neb o'r barnwyr na'u henuriaid, nid neb o'u meddygon na'u gweledyddion; ac nid neb o'r archolledigion, yn eu poenau, feddyliodd am lunio y sarph bres i edrych arni er cael iachad. Ni buasai neb yn eu mysg yn dychymygu am y fath feddyginiaeth. Trefn a chynllun o eiddo Duw ydoedd. Ac nid angylion na dynion feddyliodd am gynllun trefn yr iechydwriaeth; ddarfu ddychymygu erioed am gyfryngdod Crist; am ei ymgnawdoliad a'i farwolaeth; ac am ei dderchafiad ar y groes, ac am ei fawr dderchafiad yn ganlynol i'w ddyoddefiadau, yn ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, a'i esgyniad i'w ogoniant; a'i godiad i olwg pechadur yn ngweinidogaeth yr efengyl.

2. Yr oedd y drefn hono yn hollol o benarglwyddiaeth gras Duw. Nid oedd dim rhwymau arno i drefnu unrhyw waredigaeth i wrthryfelwyr mor gyndyn a gwrthnysig. Yr oedd y drefn o ran ei natur, a'i chynllun, a'i hamser, a'i dull yn dyfod yn gyfangwbl o benarglwyddiaeth gras. Ac felly y mae trefn yr efengyl. Nid oedd rwymau ar yr Arglwydd i feddwl yn rasol am ddynion syrthiedig yn fwy nag am angylion syrthiedig; nid oedd rwymau arno i anfon ei anwyl Fab i wisgo ein natur ni, ac i babellu yn mysg dynion, ac i farw yn eu lle; ac i dderbyn Iawn drostynt er gallu estyn trugaredd iddynt, ond gwnaeth y cyfan o'i rydd hunan-gynhyrfiol gariad.

3. Yr oedd y drefn hono yn un gyffredinol. Nid sarph bres i ryw un truan, neu i gant o drueiniaid archolledig ydoedd. Nid sarph bres i ryw un tylwyth, neu lwyth ydoedd. Nid

sarph bres i ryw un dosbarth uwch eu breintiau nag eraill o ran eu dysg, neu eu swydd, neu eu cyfoeth ydoedd. Nid oedd neb yno allai ddweyd sarph bres i ni yn unig ydyw, ac nid oes neb ond nyni i edrych arni; oblegyd yr oedd wedi ei threfnu i'r holl wersyll. Yr oedd ei rhinwedd yn rhydd i bwy bynag a edrychai arni; ac nid oedd edrychiad deng mil ar unwaith yn lleihau dim ar ei rhinwedd. Ac felly y mae trefn fawr gras yr efengyl yn un gyffredinol. Y mae yr iechydwriaeth fawr yn rhydd i bawb a'i derbynio. Nid iechydwriaeth i un genedl ydyw, ond i'r holl genedloedd; nid i un genedlaeth, ond i'r holl genedlaethau; nid i'r rhai uchelradd yn unig, ond i'r rhai iselradd hefyd. Iechydwriaeth "gyffredinol" ydyw i bob oed, a phob oes, a phob gwlad, a phob dosparth o ddynion. Derchafwyd Iesu ar y groes, a derbyniwyd Iesu i'w ogoniant, a chyhoeddir Iesu yn ngweinidogaeth yr efengyl fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.

4. Yr oedd trefn y waredigaeth drwy y sarph bres yn un gyfleus iawn. Yr oedd y sarph wedi cael ei derchafu yn uchel i olwg yr holl wersyll. Gallai pob clwyfus ei gweled o ddrws ei babell. Nid oedd eisiau teithio dim er cael golwg arni. Ac nid oedd eisiau llafurio er cael y rhinwedd, neu y feddyginiaeth. Yn yr un modd, y mae Crist wedi ei godi yn uchel yn yr efengyl a'i hordinhadau, yn nghanol ein gwersyll ninau. Ni raid i ni ddim myned ar bererindod pell a llafurus i Jerusalem, nac i un man arall, er cael golwg arno. Nid oes eisiau dim ond i ni godi golygon ein ffydd, a dymuniadau ein calon ato, o'r man lle yr ydym, er cael prawf ar unwaith o rinweddau ei iechydwriaeth.

5. Yr oedd y feddyginiaeth drwy y sarph bres yn un radlawn. Yr oedd yno edrych arni gyda phryder a gobaith; ac yr oedd yno deimladau cynes, diolchgar, a gostyngedig wrth dderbyn yr iachad; ond nid oedd yno ddim i dalu. Yr oedd yno wresog ganmol y feddyginiaeth, ond nid oedd neb yn talu. Felly, yn yr un modd, y mae iechydwriaeth trugaredd yn gwbl rad i bechadur. Nid oes ganddo ddim i dalu, ac nid oes dis-

gwyliad iddo dalu. Y mae holl fendithion trefn y cadw i'w cael o rad ras y nef, heb arian ac heb werth. Ni ofynir dim gan y pechadur euog clwyfus ond codi golygon ei ffydd o'r dyfnder lle y mae, i edrych ar Iesu y Gwaredwr; gan gymeradwyo trefn ei ddoethineb, a'i gariad, a phwyso ar ei Iawn anfeidrol, a gwledda gyda chalon gynes ddiolchgar ar rinweddau ei aberth drud, ac aros dan ei gysgod i gymdeithasu â'i ddyoddefiadau, ac i fyw er ei glod.

6. Yr oedd y feddyginiaeth drwy y sarph bres yn un effeithiol. Nid oes hanes i gymaint ag un ag oedd wedi cael ei frathu gan sarph danllyd edrych, yn ol y cyfarwyddyd, ar y sarph bres, a methu cael iachâd. Er dyfned archoll y brathiad, er amled y brathiadau, er bod y gwenwyn yn gweithio drwy'r galon, er bod y truan yn ymyl marw, yr oedd un olwg ar y sarph bres ar unwaith yn dwyn iachad a bywyd. Ac nid oes dim hanes i unrhyw bechadur, mewn unrhyw oes na gwlad, a drodd yn ei wasgfa, i edrych ar Iesu, golli ei fywyd wrth edrych arno. Y mae pob truan, beth bynag fydd ei gyflwr, ond iddo ymddiried i drefn Iesu, yn sicr o gael ei gwbl iachau. Ni ddywedodd neb yn ngwersyll Israel, yr wyf yn marw a'm golwg ar y sarph bres; ni ddywed neb byth dan yr efengyl, yr wyf yn marw dan ddamnedigaeth, a'm pwys ar Iawn y Gwaredwr. Os oedd sicrwydd am iachâd pob un a edrychai ar y sarph bres, y mae sicrwydd cryfach am gwbl iachawdwriaeth pob un a gredo yn Iesu.

III. Yr oedd dyledswydd y brathedig y pryd hyny yn ddrych o ddyledswydd pechadur dan yr efengyl.

1. Ei ddyledswydd ato ei hun oedd cofio ei archoll, ystyried ei berygl, fod ei fywyd mewn perygl, mewn perygl uniongyrchol, peidio oedi am haner munud, gochel cynyg unrhyw gau-feddyginiaeth, codi ei olwg yn deimladwy gredinol at y sarph bres, derbyn iachâd gyda gwylder a llawenydd, a gwylio hyd eithaf ei allu yn erbyn pob sarph danllyd hedegog. Y mae y pechadur, yn yr un modd, i ystyried ei berygl, i beidio oedi, i ochel pob gau-feddygon, ac i ymddiried ei achos yn hollol i'r Meddyg mawr.

2. Ei ddyledswydd at ei gyd-archolledigion oedd eu rhybuddio o'u perygl, a'u cyfeirio at yr unig fan am y feddyginiaeth: ac felly dylai pob pechadur a ymgeleddwyd gan Iesu wneud ei oreu i gyfeirio ac i gymell ei gyd-bechaduriaid i droi ato am faddeuant a iachawdwriaeth.

3. Ei ddyledswydd at Awdwr ei feddyginiaeth ydoedd ei ryfeddu ac ymroi i'w ganmol, a cheisio ufuddhau iddo o lwyrfryd calon, ac ymhyfrydu i fod yn ffyddlawn yn ei wasanaeth. Ac ni ddylai y credadyn byth flino i ganmol a gwasanaethu Tywysog ei iachawdwriaeth.

CYMHWYSIAD.

1. Y mae miloedd yn y byd wedi cael eu mynych glwyfo gan bechod, ac yn marw dan eu harchollion, heb wybod dim am feddyginiaeth fawr anffaeledig y groes. Ymegniwn i dderchafu Crist yn uwch yn yr efengyl, fel y gallo holl dylwythau y byd gael cyfle i edrych arno, ac i gael iachâd drwyddo.

2. Y mae miloedd yn marw dan glwyfau pechod yn ymyl meddyginiaeth fawr yr efengyl, yn ngolwg y groes; ond nis mynnant edrych arni i gael bywyd. Dylid arfer pob dawn a dylanwad i gyfeirio eu golygon at Grist, ac i'w hargyhoeddi y bydd eu gwaed ar eu pen eu hunain, ac y bydd eu heuogrwydd yn anrhaethol drwm, os gadawant i'w tymor fyned heibio heb iddynt geisio profi rhinweddau marwolaeth yr Oen.

3. Ni bydd yr un feddyginiaeth i'r truan archolledig yn uffern dân, ac ni ebed yr un sarph danlyd wenwynig byth bythoedd i awyrgylch y nefoedd.

# Y GOLUDOG A LAZARUS.

"Yr oedd rhyw wr goludog, ac a wisgid â phorphor a llian main, ac yr oedd yn cymeryd byd da yn helaethwych beunydd: yr oedd hefyd ryw gardotyn, a'i enw Lazarus, yr hwn a fwrid wrth ei borth ef yn gornwydlyd, ac yn chwenychu cael ei borthi â'r briwsion a syrthiai oddiar fwrdd y gwr cyfoethog: ond y cwn a ddaethant, ac a lyfasant ei gornwydydd ef. A bu, i'r cardotyn farw, a'i ddwyn gan yr angelion i fynwes Abraham. A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd: ac yn uffern efe a gododd ei olwg, ac efe mewn poenau, ac a ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes. Ac efe a lefodd, ac a ddywedodd, O dad Abraham, trugarha wrthyf, a danfon Lazarus, i drochi pen ei fys mewn dwfr, ac i oeri fy nhafod: canys fe a'm poenir yn y fflam hon. Ac Abraham a ddywedodd, Ha fab, coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd, ac yn awr y diddenir ef, ac y poenir dithau. Ac heblaw hyn oll, rhyngom ni a chwithau y sicrhawyd gagendor mawr: fel na allo y rhai a fynent, dramwy oddi yma atoch chwi; na'r rhai oddi yna dramwy atom ni. Ac efe a ddywedodd, Yr wyf yn atolwg i ti gan hyny, O dad, ddanfon o honot ef i dŷ fy nhad: canys y mae i mi bump o frodyr: fel y tystiolaetho iddynt hwy, rhag dyfod o honynt hwythau hefyd i'r lle poenus hwn. Abraham a ddywedodd wrtho, Y mae ganddynt Moses, a'r proffwydi; gwrandawant arnynt hwy. Yntau a ddywedodd, Nage, y tad Abraham: eithr os â un oddiwrth y meirw atynt, hwy a edifarhant. Yna Abraham a ddywedodd wrtho, Oni wrandawant ar Moses a'r proffwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."—Luc 16. 19—31.

---

Ystyrir dammeg y "Glwyth goludog a Lazarus dlawd" fel un o'r rhai mwyaf difrifol ac addysgiadol a lefarwyd gan Iesu Grist. Ymddengys mai ei amcan oedd ceryddu yspryd ac ymddygiad anffyddiog, a gloddestgar, a chybyddlyd, a didostururi amryw o'r Phariseaid: a dangos iddynt y perygl ofnadwy o ddilyn y fath ymarweddiad. Y mae addysgiadau y ddammeg yn rhai o bwys anrhaethol, ac o gymhwysiad cyffredinol at bob oes ac at bob gwlad: gan hyny, ceisiwn goffa ychydig o honynt. Dysgant

I. Fod sefyllfaoedd tymorol dynion yn mawr wahaniaethu. Ceir rhai yn oludog; yn perchenogi meddiannau helaeth, megis

tai, tiroedd, aur ac arian, anifeiliaid a dodrefn; ac felly y maent yn gallu gwisgo dillad hardd ac esmwyth o borphor ac ysgarlad, o liain main a sidan: y maent yn gallu cymeryd byd da yn helaethwych beunydd, y danteithion a'r melysion, y pasgedigion breision ar gloyw-win puredig: y maent yn cael anneddu mewn palasdai godidog wedi eu byrddio â chedrwydd a'u dodrefnu mewn modd drudfawr; y maent yn cael ymrodio yn eu gerddi a'u perllanau, dan gysgod y cangenau cauadfrig yn mysg blodau a rhosynau; y maent yn cael marchogaeth o balas i balas, ac o ddinas i ddinas, yn eu cerbydau esmwyth; y maent yn gallu dangos llawer o rwysg, ac y maent yn cael llawer o barch a bri gan eu cyd-ddynion.

Y mae eraill yn dylodion, bron yn noethion heb ddillad i'w cynesu, yn newynog heb prin ddigon o luniaeth at gynal natur, yn crwydro o fan i fan heb gartref yn un man, ac yn cael eu gadael yn fynych gan eu cyd-ddynion yn ddisylw a diymgeledd. Y mae gwahaniaeth dirfawr fel hyn yn bod yn amgylchiadau tymhorol dynion; ac y mae gwahaniaeth felly wedi bod, i raddau mwy neu lai yn mhob oes.

II. Nad yw sefyllfaoedd presenol dynion yn y byd yma ddim yn brawf beth fydd eu sefyllfa dragywyddol yn y byd a ddaw. Y mae yn wir y gall cyfoeth mawr, y gall goludoedd lawer, a byd da yn helaethwych beunydd, achlysuro profedigaethau lliosog i falchder a dideimladrwydd, ac angof o Dduw, ac anystyriaeth o ofal tirion ei ragluniaeth: a diameu fod llaweroedd o berchenogion y golud mawr wedi cael eu handwyo gan dwyll cyfoeth, ac wedi syrthio i golledigaeth; ond y mae llawer o bobl y cyfoeth mawr wedi dysgu cydnabod Duw, a chael y fraint o fod yn ddefnyddiol, ac wedi cael eu codi yn y diwedd i afael trysorau y nefoedd.

Y mae yn wir hefyd y gall tlodi dwfn fod yn brofedigaeth gref i ymollwng i galongaledwch, a thymer rwgnachlyd, a gwrthryfel yn erbyn rhagluniaeth, a difaterwch am gyflwr yr enaid, a phethau pwysfawr y byd ysprydol; ac y mae lle i ofni fod llawer o dlodion wedi byw a marw yn annuwiol; ond

y mae rhai o iselderau dyfnaf tlodi wedi cael eu gwneud yn berchenogion ffydd, yn gyfeillion Iesu, ac yn etifeddion bywyd a golud tragywyddol. Felly nid yw amgylchiadau dynion yn y byd hwn ddim yn brawf-reol i benderfynu beth fydd eu cyflwr mewn byd arall.

III. Fod pawb, o bob sefyllfa, i feirw. "A bu i'r cardotyn farw." "A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd." Rhaid i bob dyn farw. Dyna drefn sefydlog llywodraeth y nef. Nid oes neb a ddianc o ryfel marwolaeth. Nid oes dim a geidw angau draw, na goludoedd penaf y ddaear, na'r doniau godidocaf yn y byd, na'r defnyddioldeb helaethaf mewn cymdeithas, na nerth iechyd, na phrydferthwch gwedd, na boneddigeiddrwydd Moses, na'r serch anwylaf yn mysg ceraint a chydnabod, na'r galluoedd cryfaf o arfogion, na'r ymbiliau taeraf am gael gollyngdod, rhaid i bawb farw. Nid yw angau ddim yn rhy uchel i ddyfod i'r bwthyn clai, nac yn rhy ofnus i daro yn y palas marmor. Y mae'r cedyrn enwog cyfoethocaf a galluocaf fu ar y ddaear erioed wedi gorfod plygu dan ei ergyd, ac nid yw y tlotaf distadlaf ddim wedi gallu ysgoi ei sylw, na dianc rhag ei ergyd. Rhaid i'r tywysog farw, a rhaid i'r cardotyn farw.

IV. Fod dyn i fyw ar ol marw, i fyw byth mewn sefyllfa ddyfodol. Sonir yn y ddammeg am y ddau yn byw, yn cofio, yn myfyrio, yn teimlo ac yn gweithredu yn myd yr ysprydoedd. Hawdd gan anffyddwyr geisio gwadu y pwnc mawr o anfarwoldeb enaid; ond y mae yr Athraw mawr yn ei ddysgu yma fel gwirionedd sicr ac eglur. Y mae y pwnc yn cael ei dybied drwy holl rediad yr Ysgrythyrau. Y mae y Beibl oll drwyddo yn llyfr di-amcan, a di-ystyr, ac anghyson os nad oes sefyllfa ddyfodol. Bod byd ar ol hwn sy'n gosod grym yn ei holl orchymynion, a'i fygythion, a'i addewidion. Bod byd ar ol hwn sy'n argraffu anrhaethol bwys ar ffydd a duwioldeb. Ac y mae natur cyfansoddiad y meddwl, ac addefiadau anesmwythder a dychryn anffyddwyr, a gobeithion dyddanol a sancteiddiol y credadyn yn cyd-dystiolaethu â holl athraw-

iaethau y Beibl bod enaid yn anfarwol. Y mae y ddammeg hefyd yn dysgu bod yr enaid i fyw ac i deimlo cyn bore yr adgyfodiad ; ei fod yn myned i'w le ei hun, ac at ei bobl ei hun yn uniongyrchol, yn moment gyntaf ei ymadawiad o'r corff, a bod dyn i fyw yn dragywyddol. Nid oes gan Iesu ddim awgrym yn ei ddammeg am ddarfyddiad "dyddanwch" y duwiol, am ei ddiarddeliad eilwaith o fynwes teulu y nefoedd ; na dim awgrym ychwaith am ddarfyddiad gwae yr annuwiol, a diffoddiad fflam ei boenedigaeth, a'i adferiad dros yr agenddor fawr at y saint i wynfyd a gogoniant.

V. Y bydd codiad a gwynfyd anrhaethol i dduwiolion ar eu mynediad o'r corff i'r byd a ddaw.

Cânt angylion i weini iddynt yn awr eu marwolaeth, ac i weini yn y dull mwyaf medrus a chariadlawn. Y mae angylion yn gwybod eu hanes, ac yn gweini iddynt yn ystod eu bywyd crefyddol cyn dydd eu marwolaeth. Y maent yn llawenhau am eu hedifeirwch a'u troedigaeth, yn sylwi ar eu llafur, yn cynhyrfu eu myfyrdodau, yn cynorthwyo eu gweddïau a'u gweddiau, yn eu hamddiffyn rhag gelynion ysprydol, yn melysu eu cymdeithas, yn cryfhau eu grasau, yn cyfoethogi eu profiadau, ac yn gwylio o gylch eu gwely angau er gwaeled eu gorweddfa. Ond pan y bydd yr angylion yn eu cyfarfod yn y glyn, ac yn eu tywys drwy yr Iorddonen, ac yn eu croesawu drwy'r pyrth i drigfanau y nefoedd, bydd eu gwasanaeth yn nês ac yn anwylach ac effeithiolach nag y bu erioed cyn hyny.

Cânt angylion i'w dwyn i "fynwes Abraham." Arwydda hyny y cânt eu dwyn i adnabyddiaeth o'r hen saint oeddynt wedi cyrhaedd yr orphwysfa o'u blaen ; y cânt eu dwyn i'w canol, i'w cartref, i'w cymdeithas, i uno yn eu haddoliad, ac i gyfranogi o'u llawenydd.

Ac o hyny allan, "dyddenir hwynt. Derfydd eu holl "adfyd," a dyddenir hwynt gan yr oll a feddyliant, ac a glywant, ac a welant, ac a deimlant. "Dyddenir" hwynt gan eu hadgofion, a'u hadfyfyrdodau am hanes eu teithiau yn yr anial, am Grist a'i addewidion, a holl ymgeledd ei iachawdwriaeth.

"Dyddenir hwynt gan yr holl olygfeydd gogoneddus fydd o'u deutu ar bob llaw. "Dyddenir" hwynt gan gyfeillachau pur a goleu a chariadlawn eu cyd-seintiau. "Dyddenir" hwynt gan ddoniau uchel a dilwgr y llengoedd angylaidd. "Dyddenir" hwynt wrth eistedd i lawr wrth fwrdd y gwleddoedd breninol, wrth ymrodio o gylch glanau afon y bywyd, ac wrth gyduno yn holl ranau gwasanaeth y cysegr fry. "Dyddenir" hwynt â gwenau grasol y Tri yn Un, neu â'r amlygiadau mwyaf gogoneddus o'r dwyfol bresenoldeb.

VI. Y bydd "poenau" yr annuwiol yn drymion alaethus yn y byd hwnw.

Bydd yr annuwiol yn cofio ei holl hanes yn y byd. Bydd ei gôf yno yn gryfach, a manylach, a llawnach, nag y dychymygodd erioed. Cofia yno am y rhagorfreintiau a gafodd, am y "gwynfyd" a fwynhaodd, am y cyfleusderau a gafodd i wneuthur daioni, am y gobaith gwynfydedig fu unwaith yn ei gyrhaedd: a chofia hefyd am y drygau a wnaeth i'w deulu, i'w "frodyr," i'w gyfeillion, i'w holl gymydogion a'i gydnabod, ac yn enwedig i'r tlawd, a'r gwan, a'r dinodded. Cofia am y cam andwyol a wnaeth â'i enaid ei hun, drwy ei wrthryfel rhyfygus yn erbyn holl ddeddfau Duw.

"Poenir" ef nid yn unig wrth adgofio ei hanes, ond wrth weled y nefoedd o hirbell, gweled gogoniant cyrau y wlad well, gweled yn uchel fry binaglau gloywon y ddinas nefol, gweled penau y bryniau gwyrddion, gweled wynebau llon sanctaidd y preswylwyr, clywed adswn peroriaeth eu telynau, gweled eu gynau gwynion, gweled bwrdd y wledd. Pan gododd y goludog ei olwg, ac efe mewn poenau, efe a "ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes." Yr oedd yr olwg o hirbell ar y fath wynfyd a gogoniant yn trymhau ei boen.

Ac nid oedd dim gobaith iddo byth gael yr un gymwynas, na thrugaredd. Y mae yn taer ofyn am ddwy gymwynas—sef dyferyn o ddwfr ar ben bŷs Lazarus i oeri ei dafod, ac am i Abraham anfon Lazarus at ei bump brodyr i'w rhybuddio

rhag dyfod o honynt hwythau i'r lle poenus. Ond nid oedd modd iddo gael yr un o'i ddymuniadau. Nid oedd dim ffordd i drugaredd mewn unrhyw ddull dramwy ato.

VII. Y mae y ddammeg yn dysgu fod y moddion goreu er ein parotoi ni i fyd gwell yn awr yn ein meddiant. "Oni wrandawant a'r Moses a'r proffwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."

Yr oedd y gwr goludog a'r Iuddewon gynt yn meddwl, ac y mae llaweroedd eto o'r un meddwl, y buasai gwyrthiau, neu anfoniad oddiwrth y meirw, yn effeithiol er peri i ddynion edifarhau a dychwelyd ; ond yr oedd Abraham, o'r tu arall, yn credu ac yn cyhoeddi fod llyfrau Moses a'r proffwydi yn addasach at y dyben na dim gwyrthiau. Ac y mae digon o brofion genym mai Abraham oedd yn barnu yn gywir, a bod y gwr goludog yn cyfeiliorni. Os astudiwn hanes cydoeswyr Moses, ac Elias a Christ, ceir fod deiliaid goruchwyliaeth y gwyrthiau ardderchocaf yn medru ymgaledu yn eu hanghrediniaeth. Yr oedd Abraham yn tystiolaethu wrth y gwr goludog nad oedd dim modd i'w frodyr gael gwell moddion yn yr oes hono na "Moses a'r proffwydi ;" ond y mae genym ni well moddion, eglurach, a chryfach, a lliosocach tystiolaethau na'r rhai a ganmolid gan Abraham. Y mae Moses a'r proffwydi genym, ac y mae Crist a'i efengylwyr a'i apostolion genym. Y mae tystiolaethau yr Hen Destament genym, a thystiolaethau y Testament Newydd i'w goleuo a'u cadarnhau. Byddai yn gamgymeriad echrydus i ni oedi gan ddisgwyl cael breintiau gwell. Byddwn yn fuan iawn wedi ein symud i'r byd ysprydol, naill ai i le y "poenau," neu i le y "dyddanwch" diddarfod.

## DRWG YMGYFREITHIO.

"Ac i'r neb a fyno ymgyfreithio â thi, a dwyn dy bais, gâd iddo dy gochl hefyd."—Mat. 5. 40.

Yr oedd Crist yn ddyfal i ddysgu holl ffyrdd Duw mewn gwirionedd; ac mae o'r pwys mwyaf i ni wrando ar ei holl addysg. Y mae yn y bennod hon yn darlunio nodweddau y rhai gwir wynfydedig, yn egluro y pwys i'w ddisgyblion fod yn ddefnyddiol, fel "halen y ddaear," ac fel goleuni y byd;" a dengys mai yn ol eu defnyddioldeb y bydd eu mawredd a'u codiad yn nheyrnas nefoedd. Y mae wedi hyny yn eu rhybuddio i ochelyd yspryd digofus ac anfaddeugar, i ffieiddio anlladrwydd a godineb, i wylio yn erbyn pob math o lwon ac anudoniaeth, i ochel ymddial, ac i feithrin cariad tu ag at bawb "fel y byddont blant i'w Tad yr hwn sydd yn y nefoedd."

Yn yr adnod fer a ddarllenwyd y mae yn eu rhybuddio i ochelyd "ymgyfreithio." Byddai yn anhawdd i ni esbonio yn fanylaidd y dull o ymgyfreithio mewn gwahanol wledydd, a than wahanol oruchwyliaethau; ond nid anhawdd ydyw deall amcan caredig Iesu yn y cyngor sydd dan ein sylw. Meddyliaf mai bron yr un ystyr ydym ni yn awr yn roddi i'r gair "ymgyfreithio" ag oedd Crist yn roddi yn ei bregeth ar y mynydd; sef ymruthio, mewn tymer wyllt, fyrbwyll, ddigofus, ddialgar i lŷs cyfraith, i derfynu pob dadl, a phob camgymeriad a ddichon gymeryd lle rhyngom â rhai o'n cyd-ddynion.

Dichon y tybir, ac y dywedir, mai nid efengyl ydyw pregethu yn erbyn hyn. Yr oedd Crist yn pregethu yn erbyn hyn, ac felly rhaid fod hyn yn groes i'w efengyl, ac yn waharddedig gan ei efengyl. Yr oedd Paul hefyd yn ymresymu yn gryf ac yn wresog yn erbyn y drwg yma. Wrth ysgrifenu at y Cor-

inthiaid dywed—" Od oes genych farnedigaethau am bethau a berthyn i'r bywyd hwn, dodwch ar y fainc y rhai gwaelaf yn yr eglwys. Er cywilydd i chwi yr wyf yn dywedyd. Onid oes yn eich plith gymaint ag un doeth; yr hwn a fedro farnu rhwng ei frodyr? Ond bod brawd yn ymgyfreithio â brawd, a hyny ger bron y rhai digred. Yr awr hon, gan hyny, y mae yn hollol ddiffyg yn eich plith, am eich bod yn ymgyfreithio a'ch gilydd. Paham nad ydych yn hytrach yn dyoddef cam? Paham nad ydych yn hytrach mewn colled? Eithr chwychwi sydd yn gwneuthur cam a cholled, a hyny i'r brodyr. Oni wyddoch chwi na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw?" Y mae yn amlwg gan hyny y dylai gweinidogion yr efengyl, os byddant am ddilyn eu Hathraw a'i apostolion, gyfeirio eu llais yn erbyn ymgyfreithio.

Dichon y dadleuir nad oes dim eisiau dywedyd llawer yn yr ardal yma yn erbyn y drwg, am nad oes dim yspryd ymgyfreithio yn y gymydogaeth. Y mae hyny yn fraint ac yn gysur, yn enill ac yn anrhydedd i'r ardal, a thrwy fod ein hardal mor rydd oddiwrth y fath yspryd andwyol, y mae yn hawddach o gymaint a hyny i gyfeirio at y mater heb achosi tramgwydd. Byddai bron yn enbyd i bregethu yn erbyn y drwg mewn cylch lle y byddai wedi cael hir rwysg a magwraeth.

Y mae yspryd ymgyfreithio wedi achosi drygau anrheithiol yn y byd, a dichon wedi achosi mwy yn ein gwlad ni, nag mewn nemawr o wlad, a dichon fod rhy fach o ddweyd yn erbyn y drwg yn eglwysi y saint, a chan weinidogion yr efengyl.

I. Crybwyllwn rai o'r achlysuron penaf, a mwyaf cyffredin o'r drwg mawr yma o "ymgyfreithio."

1. Difriaeth, neu athrod. Dichon y dywedir, neu yr ysgrifenir rhywbeth i fychanu ymddygiad, neu i iselhau cymeriad cymydog, neu gyd-ddyn; a thrwy hyny yr archollir ei deimlad, y cynhyrfir ei yspryd, y chwerwir ei dymer, ac y drygir ei fywioliaeth, ac yr effeithia hyny er niwed i'w deulu a'i geraint: yna cymerir y mater at gyfreithwyr, a thelir iddynt hwy am esbonio y cam yn ei wahanol gysylltiadau, ac am fynu iawn gan y difriwr, neu yr athrodwr, am y drwg a wnaeth.

2. Ymosodiadau personol trwy rym trais. Ymesyd y naill ddyn, mewn ias nwydwyllt, ar ei gyd-ddyn, oblegyd rhyw gam tybiedig, neu wirioneddol, nes ei archolli, nèu ei gleisio, neu ei anafu ; ac nes dychrynu a therfysgu ei feddwl, a'i deulu. Yna dygir y mater hyny at gyfreithwyr i'w chwilio a'i esbonio, er cael iawn i'r llywodraeth, neu i'r dyoddefydd.

3. Gormesu ar eiddo un arall, neu ei golledu trwy ddrygu unrhyw ran o'i eiddo, ei dir, neu ei gynyrch, ei anifeiliaid, neu ei offer, ei dŷ neu ei ddodrefn. Gellir drygu eiddo felly mewn llawer ffordd, trwy ddwr, neu dân, neu arf, neu anifeiliaid, ac yn llawer dull. Yna eir at gyfreithwyr i esbonio yr amgylchiad, ac i brisio y golled, ac i fynu iawn am y cam a wnaethpwyd.

4. Tywyllwch, neu ddyryswch yn nghylch iawn berchenogaeth eiddo, neu feddianau : megys ffynon, neu ffrwd, cloddfa o geryg, neu wely o fŵn, neu wythen o arian, neu ddarn o dir ar ochr y bryn, neu lain ar y gwastadedd, neu allt o goed, neu ffordd, neu lwybr, neu dŷ anedd, neu ryw adeilad arall ; neu gymun-roddion ar ol y marw, neu freiniau gwladol, megys hawl i bleidleisio, neu ryw hawl arall ; y mae pethau fel hyn yn mynych enyn cynen a dadl ag sydd yn rhoddi llawer o waith drudfawr i gyfreithwyr.

5. Cyflawniad haner og, ac anmherffaith o ammodau cytundeb rhwng dwy blaid. Bydd dyn weithiau ar ol gwneud ymrwymiadau i'w gyd-ddyn yn ceisio eu gwadu, neu eu camesbonio, neu yn llunio esgusodion dros eu hysgoi, a bydd rhaid rhoddi y ddadl yn llaw cyfreithwyr i'w therfynu. Pan y bydd dyn a'i fryd ar fyned i ymgyfreithio, hawdd iddo gael achlysur i gychwyn cyfraith, a chael amryw esgusodion er ceisio cyfiawnhau ei ymddygiad.

II. Y niwed o fagu yn y fynwes, neu mewn teulu, neu ardal, yr yspryd a'r arferion a feiir gan Iesu yn y testyn.

1. Y mae'r gwaith ynddo ei hun yn ddyrus—yn ddrudfawr —a hynod o boenus. Y mae yn ddyrus. Bydd y tystiolaethau perthynol i'r achos dan sylw weithiau yn aneglur ac yn ang-

hysonadwy. Bydd rheol y gyfraith, gyda golwg ar yr achos, bryd arall, yn dywyll ac yn ddyrus, ac yn anghyson. Bydd croes-esboniadau y cyfreithwyr, ar y tystiolaethau ac ar egwyddorion y gyfraith, ac ar arferiadau llysoedd, yn gwneud yr achos yn llawer mwy tywyll nag erioed; a dichon na bydd cymhwysiad y gyfraith at yr achos gan weinyddwyr barn, ddim bob amser yn deg ac yn ddiduedd. Nid yw y rheithwyr mwyaf craff a gwybodus ddim yn hollol berffaith, gallent fod yn ormod dan lywodraeth nwyd a rhagfarn. A gall y barnwyr goreu weithiau wyro barn drwy bleidgarwch, neu gamgymeriad. Ac heblaw bod yn ddyrus, y mae y cyfreithio bob amser yn ddrudfawr. Y mae llawer dadl ddibwys wedi profi yn ddrud iawn pan elid i ymgyfreithio yn ei chylch, wedi costio canoedd a miloedd, wedi costio yr oll a feddai ambell un, wedi difwyno yr etifeddiaethau godidocaf, wedi llyncu i fyny dai a thiroedd y pleidiau i'w gafaelion anniwalladwy; wedi dyrysu llawer cymdeithas grefyddol a gwladol, wedi atal llawer gwaith enillfawr ag oedd yn rhoddi bywoliaeth i ugeiniau o deuluoedd, wedi rhwystro gwelliantau allasent fod o fudd mawr i gymdeithas, ac wedi nychu pob cysur tymhorol ac ysprydol mewn llawer cymydogaeth. Y mae ambell i ddadl gyfreithiol wedi costio mwy nag a fuasai yn sefydlu coleg defnyddiol, fwy nag a fuasai yn cynal ugain cenadwr yn mysg Paganiaid, a mwy nag a fuasai yn dosbarthu miliwn o Feiblau. Y mae ymgyfreithio hefyd yn waith o'r natur mwyaf poenus. Y mae ambell i ddadl gyfreithiol wrth gael ei gohirio o dymor i dymor, ac wrth gael ei chodi o lŷs i lŷs, ac wrth i'r ail lŷs ddirymu dedryd y llŷs cyntaf, ac i'r trydydd wella dedryd yr ail, wedi ymestyn, ac ymledu, ac ymchwyddo, a pharhau am lawer o flynyddoedd; ïe, wedi parhau am holl oes y pleidiau; a thrwy hyny wedi achosi llawer o lafur blin i'r corff wrth ymdeithio, ac ymprydio, a disgwyl cyfleusderau y llŷs, a cholli cysgu, a dyrysu cadw oriau rheolaidd; ac wedi achosi mwy na mwy o bryder ac o boen i'r meddwl wrth ei gadw o hyd dan lwyth o ofalon, ac mewn anesmwythder parhaus, a'i siglo beunydd

rhwng gobeithion ac ofnau, a'i lethu bron gan edifeirwch ac euogrwydd: ac felly y mae yr ymgyfreithio bob amser yn waith dyrus, drudfawr, a phoenus.

2. Nid oes dim tuedd yn y gwaith, wedi'r cyfan o'r draul a'r boen, i farwhau unrhyw nwydau drwg, nac i fagu teimladau cariadlawn a dedwydd. Nid yw yn tueddu dim at ddiffodd y gynen, at ddofi cynddaredd y digofaint, i ladd y genfigen, i fygu fflamau dialgarwch, i ddarostwng balchder y galon, i ddwyn y meddwl i'w le, ac i nesu y pleidiau at eu gilydd. Nid oes dim tuedd mewn ymgyfreithio i fagu tawelwch yn y fynwes, nac i feithrin heddwch mewn cymydogaeth, nac ennyn parch yn y galon at wirioneddau ac ordinhadau efengyl y tangnefedd. Pa bryd, ac ar ba amgylchiad, y gwnaeth ymgyfreithio les i deimladau y pleidiau yn y gwaith?

3. Byddai yn hawdd, pe meddid ychydig o yspryd yr efengyl, terfynu pob math o ddadleuon, mewn dull heddychol a boneddigaidd, a dedwydd, heb yr holl draul a'r drafferth a grybwyllwyd. Dichon mai y peth cyntaf i'w wneud tu ag at derfynu dadl felly, fyddai i un o'r pleidiau, ar ei ben ei hun, geisio meddwl am niweidiau yspryd dialgar, a godidowgrwydd a gwerth y gras o hunan-ymwadiad, a dysgu ymdrwsio â gostyngeiddrwydd, a magu yspryd tirion, boneddigaidd, a hawdd ei drin; ac arfer gwylio ar ei ymadroddion, a gweddio am iddo beidio cael ei ollwng i fyned yn nwydwyllt ac afresymol: ac yna wedi gallu llwyddo i dawelu y dymestl yn ei fynwes ei hun, ac i lywodraethu ei dymer ei hun, ac i oleuo lamp cariad yr efengyl yn ei enaid ei hun, gall anturio yn yr yspryd gwerthfawr hwnw at y blaid arall, ac nid annhebyg nad allent esbonio y mater yn hawdd; ac wedi i gariad ddechreu chwyddo yn y ddwy fynwes, a llifo dros yr ymylau o'r naill ochr i'r llall, buan iawn y terfynid y ddadl, ac ymadewid yn gyfeillion, a'r ddwy fynwes yn dawel, ac yn orlawn o orfoledd. Neu, os teimlid gradd o anhawsdra, gyda rhyw gangen o'r ddadl, gellid gofyn cyngor un, neu ddau, neu dri o gyfeillion pwyllog, profiadol, heddychgar er cynorthwyo i derfynu y ddadl. Byddai

yn hawdd iawn gwneuthur hyn ond cael gronyn bach o yspryd boneddigaidd Cristionogaeth.

III. Ceisiwn ateb y gwrthddadleuon mwyaf cyffredin a godir yn erbyn y cyngor pwysfawr yma o eiddo Iesu Grist.

1. Dadleua rhai—os dywedir yn erbyn ymgyfreithio, ac os gweithredir gan gymdeithas yn gyffredinol yn ol cyngor Crist, y culheir drwy hyny gylch galwedigaeth, y cyfryngir effeithiolaeth, y nychir doniau, ac y sychir ffynonell enill dosbarth lliosog a dylanwadol ac anrhydeddus o breswylwyr penaf ac uchaf y byd. I hyn gellir ateb, Fod llawer iawn o waith gwir fuddiol gan gyfreithwyr i'w wneud, sef, esbonio iawnderau a rhagorfeintiau, a rhwymedigaethau cymdeithas; llunio rheolau teg ac uniawn, eglur a dealladwy, cryno a chynwysfawr, i amddiffyn yr iawnderau hyny; cynorthwyo i weinyddu y gyfraith yn ddiduedd yn erbyn pob dosparth o droseddwyr; cyfansoddi cytundebau a gweithredoedd o bob natur rhwng dyn a dyn, rhwng cymdeithion mewn unrhyw gelfyddyd neu fasnach; trosglwyddo eiddo o law i law, ac o oes i oes; ond os ydyw cylch cyfraith, neu gyfreithio, o herwydd llygredigaethau cymdeithas, neu trwy ôr-awydd cyfreithwyr, wedi lledu yn ormodol, fel ag i ddrygu ac annedwyddu y byd; os ydyw wedi lledu a changhenu fel ag i lygru a chaledu y galon drwy enyn nwydau niweidiol ynddi, ac felly nychu teimladau heddychlawn a haelionus; os ydyw wedi lledu fel ag i niweidio cymdeithas drwy feithrin a chefnogi annrhefn, a therfysg, a dyryswch, ac anghydfod, a thlodi o'i mewn; os ydyw wedi lledu fel ag i fod yn dramgwydd ar ffordd y gwirionedd, ac i gymylu gogoniant efengyl hedd, drwy bylu ei min, a thori ei grym, a lluddias ei lledaeniad, ni ddylai hyny ddim bod, dylid ceisio culhau cylch y "cyfreithio," a dofi y fath yspryd, ac atal y fath aflywodraeth.

2. Dadleua eraill—Y buasai rhai wedi cael llawer iawn o gam pe buasent heb ymroi i ymgyfreithio. Dichon y buasent, ond nid oes dim sicrwydd o hyny, yn enwedig pe buasent, mewn dull pwyllog, boneddigaidd, caredig, a doeth yn ceisio ysgoi

yr ymgyfreithio. Dichon y buasai ambell un yn cael cam pe buasai heb ymgyfreithio ; ond beth bynag am hyny y mae yn ddigon sicr fod y rhan fwyaf o lawer wedi cael cam, a phoen, a cholled, ac anfri, wrth ymgyfreithio, ac y buasai yn well iddynt adael i'r "gochl a'r bais" gael eu cymeryd ymaith, na myned i ymgyfreithio yn eu cylch.

3. Dywed eraill—".Y mae yn anmhosibl i ni beidio myned i gyfraith, tra y byddo ein gwrthwynebydd yr hyn ydyw. Er rhoddi iddo y 'bais a'r gochl,' er myned gydag ef 'ddwy filldir yn lle un, er troi iddo y 'rudd aswy' ar ol iddo daro y dde, er ei 'fendithio' a gweddio drosto pan y bydd ef yn melldithio, bydd ef yn sicr o fynu cychwyn rhyw gŵyn yn ein herbyn yn y llŷs, er ein llusgo i afaelion cyfraith." Anfynych iawn y mae gwrthwynebydd felly i'w gyfarfod. Anfynych iawn, yn wir, y mae gwrthwynebydd i'w gael nad ellir ei dyneru a'i doddi i degwch drwy garedigrwydd. Od oes un felly i'w gael, yn rhywle, nid oes i yr hwn fyddo am ddilyn cyngor Crist ond bod ar ei wyliadwriaeth, a gwneud ei oreu i weithredu yn yspryd Crist, ac yn ol egwyddorion ei efengyl, a daw ei farn yn y diwedd i fuddugoliaeth.

4. Dywed eraill—Y mae dynion call, enwog, anrhydeddus, defnyddiol, a duwiol wedi bod yn ymgyfreithio. Oes, y mae: ond y pwnc yw, a oedd hyny yn rhinwedd ynddynt? A oedd hyny yn ol duwioldeb? A oedd eu hymddygiad yn hyny yn unol ag egwyddorion Cristionogaeth? Y mae dynion call, anrhydeddus, crefyddol, defnyddiol wedi bod yn rhyfela, wedi bod yn camddarlunio ac yn melldithio eu gelynion, wedi bod yn gormesu, ac yn crib-ddeilio, ac yn gorfaelu, wedi bod yn cyfeddach ac yn gloddesta, ac wedi bod yn euog o odineb ac anlladrwydd. Ond pwy ddadleuai fod hyny yn rhinwedd ynddynt? Drwg ydyw drwg, pwy bynag a'i gwna, a da ydyw da, pwy bynag a'i pleidia. Nid all na synwyr na dysg, nac urddas na golud wneud y drwg yn dda. Y mae pob yspryd a phob egwyddor, pob ymddygiad a phob gweithred i gael eu hystyried a'u barnu yn ngwyneb deddfau Crist, ac yn ngoleuni

y byd tragywyddol. Os bydd rhyw yspryd, neu ryw ymddygiad yn groes i natur a deddfau Duw, nis gall holl ddoniau, na holl oludoedd, na holl urddas, na holl ddylanwad pendefigion uchaf y ddaear ddim gwneud hyny yn dda ; ac os bydd rhyw egwyddor, neu ryw sefydliad yn dda ynddynt eu hunain nis gall holl effeithiolaeth holl fawrion y byd ddim eu gwneud yn ddrwg.

### CYMHWYSIAD.

1. Rhyfeddwn dwyll a llygredd ac ynfydrwydd y galon ddynol. Y mae yn wir alarus i feddwl, fod yspryd ac arferion ag ydynt mor niweidiol i gymdeithas yn ei holl gylchoedd, yn cael y fath fagwraeth a chefnogiad. Nid ar gyfreithwyr yn unig y mae'r bai. Y mae ambell i un o honynt wedi gwneud ei oreu lawer tro i atal ymgyfreithio ynfyd a cholledfawr, i bleidio tegwch, ac i amddiffyn y gwan a'r tlawd, ac y mae y cyfryw yn haeddol o barch dauddyblyg ; ond y mae eraill wedi bod yn hyf amddiffyn pethau ger bron brawdleoedd y byd yma, ag y bydd yn warth i'w coffa, ac yn ddychryn i'w cydwybodau i gofio am danynt pan y byddant hwy yn gorfod sefyll eu prawf ar gyfer tystion, ac yn nghanol torf y frawdle fawr. Ni bydd yno ddim camgymeriad, na chyfle i gynyg am "*new trial.*" Ond peidiwn, er dim, feddwl mai ar gyfreithwyr y mae'r holl fai. Y mae yn wir eu bod yn gyffredin yn awyddus am gael *briefs*, a *clients*, ac *important causes*, ac ennill enw fel dadleuwyr cyfrwys, cyflym, craff, a grymus ; ond nis gallent byth gynal y drwg a gondemnir gan Iesu oni bai ynfydrwydd a hunanoldeb cymdeithas o'u deutu. Hunanoldeb ynfyd eu "*clients*" ydyw sylfaen cyfundrefn fawr yr ymgyfreithio.

2. Rhyfeddwn ddoethineb, a charedigrwydd, a ffyddlondeb Iesu Grist fel Athraw. Gwyddai yn dda am lygredd calon dyn, a gwyddai hefyd am y dulliau yr oedd ei llygredd yn tori allan, a rhoddodd rybuddion, a chyfarwyddiadau, a gorchymynion ac anogaethau cyfaddas er addysg i ddyn yn wyneb ei

wendidau a'i brofedigaethau. Pe buasai Iesu yn y byd yn awr, buasai yn pregethu ac yn cyngori yn wresog yn erbyn y drwg o "ymgyfreithio." A gellir casglu y buasai yn dywedyd ar lawer amgylchiad, "Gwae chwi, gyfreithwyr, oblegyd yr ydych yn enyn dadleuon anfuddiol ac anorphen, er gallu llenwi eich tai o anrhaith yr ynfydion anwyliadwrus a hudir i faglau a rhwydau "cyfraith."

3. Y mae yn amlwg fod perthynas bwysfawr rhwng y mater yma â gogoniant crefydd Iesu, ac â llwyddiant ei efengyl. Dichon y barna ac y dywed rhai mai pwnc yn perthynu i amser yn unig ydyw; nage, ond y mae a fyno â thragywyddoldeb hefyd. Y mae yn perthyn i bethau tymhorol, ac i bethau crefyddol hefyd; y mae yn perthyn i'r corff, ac i'r enaid hefyd. Y mae yn perthyn i'r byd hwn, ac i'r byd mawr dyfodol hefyd. Y mae y drwg a nodwyd, sef yspryd ymgyfreithio, yn atal llaweroedd i brofi o gysuron yr efengyl, yn eu lluddias i godi eu serchiadau at bethau sydd uchod, ac yn eu rhwystro i gysegru eu doniau a'u dylanwad i fod yn ddefnyddiol er lledaeniad teyrnas y Gwaredwr. Y mae lle i ofni fod y drwg yma a gondemnir gan Iesu wedi andwyo miloedd, ac wedi bod yn dramgwydd ofnadwy ar ffordd buddugoliaethau yr efengyl.

4. Mor ddedwydd, ac mor gyfoethog fyddai'r byd pe dygid yn mlaen ei holl alwedigaethau a'i orchwylion yn ol cyfraith cariad, yn ol rheolau euraidd Efengyl Crist! Byddai llawer llai o ofidiau ac o feichiau ynddo, llawer llai o ddadleuon ac o derfysgoedd, llawer llai o genfigen ac o ddial, a llawer mwy o gydymdeimlad ac o gariad. Cai disgyblion lliosog cyfraith fwy o amser i astudio deddfau ac athrawiaethau yr efengyl. Cai llawer iawn o dalentau, a galluoedd, a goludoedd ag ydynt yn awr yn cael eu defnyddio i wneud drwg, eu cysegru i lesbau y byd, i ddedwyddu cymdeithas, ac i ddyrchafu gogoniant y Gwaredwr.




# "COFIA YN AWR DY GREAWDWR."

"Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesâu o'r blynyddoedd yn y rhai y dywedi, Nid oes i mi ddim dyddanwch ynddynt."—Preg. 12. 1.

---

Y mae'r benod yma, sef yr olaf yn llyfr y Pregethwr, yn llawn o syniadau ymarferol a difrifol. Y mae ei chyfansoddiad yn ardderchog o ran iaith, a threfn, ac ymresymiad. Gellir ei hystyried fel sylwedd, a chymhwysiad, a diweddglo holl bregethau Solomon. Bernir mai cyngorion y benod yma oeddynt y pethau olaf a ysgrifenodd, a hyny pan oedd mewn yspryd edifeiriol am ei golliadau a'i wrthgiliadau, pan oedd wedi cael y siomedigaethau mwyaf galarus yn oferedd a gwagedd y byd; pan oedd yn adolygu breintiau mawrion ei fywyd, a phan oedd yn gwybod ac yn teimlo ei fod yn ymyl gorsedd ei Farnydd.

Mae'n eglur fod achos pobl ieuainc, lles y genedl oedd yn cyfodi, yn agos at ei galon. Yr oedd yn gwybod mor dda am nerth eu profedigaethau; ac yn gwybod mor dda hefyd am fawr werth crefydd fore fel yr oedd yn rhoddi y cynghor iddynt o waelod teimlad y galon. Ystyriwn

Y gorchymyn—yr amser goreu i ufuddhau iddo—a'r cyfarwyddiadau sydd genym i'w gyflawni.

I. Y gorchymyn. "Cofia dy Greawdwr." Mae'n orchymyn yn

1. O ddwyfol awdurdod. Deillia o orsedd y nef. Y mae sêl llys tragywyddoldeb wrtho. Ein Creawdwr, y Duw a'n gwnaeth, ac sydd yn ein cynal ar bob moment; y Duw sydd wedi rhoddi i ni fyrdd o gymwynasau, ac sydd yn meddu hawl i'n teimladau, a'n galluoedd, a'n hamser; yr Hwn sydd a'i lygaid beunydd arnom; yr Hwn y mae ein hanadl a'n bywyd

yn ei law, ar hwn y bydd ein bywyd tragywyddol yn troi ar ei ffafr; y mae y Duw hwnw, o uchel lŷs ei awdurdod a'i gariad, fel Tad ac fel Brenin, yn gwasgu y gorchymyn at ein hystyriaeth, ac yn disgwyl am ein hufudd-dod.

2. Mae yn orchymyn eglur; yn berffaith eglur o ran ei iaith, a'i ystyr, a'i amcan. "Cofia yn awr dy Greawdwr." "Cofia," gwaith i'r meddwl, i alluoedd yr enaid ydyw. Cofia "yn awr," heb oedi moment. "Dy Greawdwr." Cofia briodoliaethau ei natur, ei burdeb, ei iawnder, ei ddoethineb, ei gariad, ei hollwybodaeth, a'i holl bresenoldeb, ei ffyddlondeb, a'i nerth; cofia egwyddorion a chyfreithiau ei deyrnas fel y maent yn cael eu dysgu yn ei air sanctaidd. Cofia hanes ei ymddygiadau tu ag at ei blant yn eu hymgeleddu, a'u cynorthwyo, a'u gwared: a'i ymddygiadau tu ag at ei elynion ystyfnig a gwrthryfelgar yn eu darostwng. Cofia yr hyn a wnaeth i ni, a'r hyn a wna os byddwn ffyddlawn yn ei wasanaeth. Cofia dy Greawdwr, meddwl am ei gymeriad nes dysgu gwrando ar ei lais, ac ofni ei nerth, a charu ei orchymynion, a cheisio ei hedd, ac ymddiried byth dan gysgod ei adenydd.

3. Y mae yn orchymyn o rwymedigaeth gyffredinol. Y mae yn cyrhaedd pawb, o bob oes, yn mhob man, ac o bob oed. Mae'n cyrhaedd yr ieuenctyd, gwridog, a heinyf pan yn mlodau eu harddwch, ac yn nerth eu dyddiau; a'r canol oed pan yn nghanol eu trafferthion a than bwys gofalon bywyd; a'r hen bobl, yn eu dyddiau blin, pan y mae eu calon a'u cnawd yn pallu, a phan y maent dan flodau y pren almon yn gwywo ac yn crino i'r bedd. Y mae yn cyrhaedd y dysgedig a'r annysgedig, yr uchel a'r isel, y cryf a'r gwan, y cyfoethog a'r tlawd, a'r Iuddew a'r cenedl-ddyn. Y mae'n cyrhaedd holl deuln dedwydd y nefoedd, a holl breswylwyr syrthiedig y ddaear, a holl garcharorion anobeithiol gwlad y tywyllwch eithaf. Nid oes na lle, na chyflwr, nac unrhyw amgylchiad all ryddhau creadur rhesymol oddiwrth rwymau y gorchymyn hwn. Os anghofir y gorchymyn o gofio ein Creawdwr, bydd dyledswydd benaf dyn ar ol, wedi cael ei hesgeuluso: ac ni waeth beth fyddir wedi ei wneud, os bydd hyn heb gael ei wneud.

4. Gorchymyn esmwyth, hyfryd, rhesymol ydyw. Y mae y berthynas sydd rhwng dyn a'i Greawdwr mor agos ac mor bwysig, ac y mae ymddibyniad dyn ar ei Greawdwr mor gyflawn ac mor wastadol, nes ydyw yn beth perffaith resymol iddo "gofio ei Greawdwr." Gwaith ddylid wneud yn ddifrifol, yn ewyllysgar, yn barhaus, ac yn gyhoeddus ydyw. Gwaith hawdd, a hyfryd, a naturiol i galon yn ei lle ydyw. Gwaith priodol a rhesymol i alluoedd yr enaid ydyw ; ac y mae mor esmwyth a hyfryd, mor gydweddol â'r hyn sydd bur ac uniawn, fel, os gwneir hyn, y bydd y teimlad yn ddedwydd ; bydd y gydwybod yn dawel ; bydd y bywyd yn ddiogel ; bydd y cymeriad yn gymeradwy ac yn anrhydeddus ; a cheir mwynhau yn yr enaid flaen brawf o'r nefoedd.

II. Yr amser goreu i ufuddhau i'r gorchymyn. "Yn awr, yn nyddiau dy ieuenctyd."

1. Nid oes sicrwydd y byddir byw i weled hen ddyddiau. Mae yr oes yn frau. Mae edef bywyd yn hawdd ei thori. Y mae peiriant bywyd yn hawdd ei ddyrysu. Gall sefyll mewn moment. Y mae llaweroedd yn meirw yn moreuddydd eu hoes, yn eu nerth, a'u blodau ; yn nechreu ac yn nghanol eu dyddiau goreu. Ond pe byddid yn sicr o gael byw i weled hen ddyddiau, y mae dyddiau ieuenctyd yn llawer mwy manteisiol. Y mae aelodau a holl alluoedd y corff yn gryfach ac addasach at waith. Y mae yn hawddach iddo weled, a chlywed, a siarad, a cherdded, a gweithredu. Y mae galluoedd yr enaid, y dychymyg, yr amgyffred, a'r côf, yn llawer gwell at waith. Y mae teimladau y galon yn well am weithredu yn gyflym, ac yn dyner, ac yn gynes. Y mae nerth y gelyn yn llai yn y dechreu 'nag ar ol hyny. Y mae profedigaethau pechod yn llai yn nyddiau ieuenctyd na phan y byddir yn hir yn eu cyrhaedd, ac yn eu gafael. Camgymeriad ofnadwy ydyw oedi gan ddisgwyl am dymor gwell na dyddiau ieuenctyd.

2. Y mae holl reolau callineb y byd hwn yn dysgu i ni bob dydd mai "dyddiau ieuenctyd" ydyw yr amser goreu i ni gofio

ein Creawdwr. Barn a chyngor, ac arferiad a phrofiad y byd hwn ydyw, mai da i ddyn yw dwyn yr iau yn ei ieuenctyd; mai yn more yr oes y dysgir ei alwedigaeth oreu i blentyn; mai goreu pa gynaraf y dysgir ei gelfyddyd iddo; mai goreu pa foreuaf yr hyfforddir ef yn mhen ei ffordd. Y mae doethineb y byd yma yn pregethu i ni beunydd, mai y masnachwr goreu, y morwr goreu, yr amaethwr goreu, y peirianydd goreu, y celfyddydwr goreu, y rhifyddwr goreu, yr ieithwr goreu, yr ysgolhaig goreu, yr athraw goreu, y cyfreithiwr goreu ydyw yr hwn fydd wedi astudio a dilyn ei alwedigaeth o'i febyd. Os byddir am ddysgu unrhyw anifail i fod yn hywaith ac yn hwylus, addefir gan bawb mai goreu pa gyntaf y gwneir ei ddysgu. Y mae y march a'r ych a ddysgir yn gynar yn hawddach eu trin, yn fwy dedwydd iddynt eu hunain, ac yn fwy defnyddiol i'w perchenog tra y pery eu bywyd.

3. Dyma lais profiad galarus calon edifeiriol pan wedi ei dwyn i geisio crefydd mewn hen ddyddiau. Yn nghanol y teimladau diolchgar am nad yw y tymor oll ddim wedi cael ei golli, a bod gras o'r diwedd wedi enill y galon, a bod gobaith i'r enaid gael ei achub; bydd yno alar dwys a pharhaus am fod dyddiau goleu hafaidd ieuenctyd wedi cael eu colli. Clywyd miloedd yn galaru wrth yr orsedd, ac yn y gymdeithas grefyddol, ac wrth ryfela â phrofedigaethau, ac wrth gyflawni, trwy lafur, ddyledswyddau crefydd, "O na buasem wedi dechreu ymarfer â duwioldeb yn gynt; O na na buasem yn cofio ein Creawdwr yn nyddiau ein hieuenctyd! O'r fath golled a gawsom, y fath gam a wnaethom â ni ein hunain, wrth ddiffodd argyhoeddiadau bore ein hoes. Gallasem fod heddyw yn llawer cryfach a dedwyddach a nês yn mlaen ar ein gyrfa grefyddol, oni buasai i ni gamdreulio dyddiau ein hieuenctyd." A dyma lais alaethus edifeirwch gwely angau, rhai wedi oedi, a pharu yn gyndyn ac yn gelyd hyd eu horiau diweddaf. Cwyn eu dychryn wrth golli'r enaid ydyw, "Y cynhauaf a aeth heibio, darfu'r haf, ac nid ydym ni yn gadwedig." "Pa fodd y caseais i addysg? pa fodd y dirmygodd fy nghalon gerydd? ac na

wrandewais ar lais fy athrawon, ac na ostyngais fy nghlust i'm dysgawdwyr." "Gwae ni, i ni wrthod gwahoddiad trugaredd; i ni droi ymaith heb ystyried, pan oedd ar hyd y dydd yn estyn ei llaw; i ni ddiystyru holl gyngor doethineb, ac na fynem ddim o'i cherydd; i ni gasau gwybodaeth, a gwrthod ofn yr Arglwydd." "Am hyny, yr ydym yn cael bwyta yn awr o ffrwyth ein ffordd ein hunain, ac yn cael ein llenwi â'n cynghorion ein hunain; yr ydym wedi camdreulio ein tymor, ac wedi andwyo yr enaid."

4. Dyma lais diolchgar profiad hyfryd y rhai gafodd y fraint o ddechreu yn gynar; y rhai gafodd y fraint anmhrisiadwy o gofio eu Creawdwr yn nyddiau eu hieuenctyd. Y mae genym liaws mawr o siamplau o hyn. Crefydd fore ddysgodd Abel i aberthu mewn dull ac yspryd mor gymeradwy. Crefydd fore ddysgodd Noa i ufuddhau mor fanwl wrth ddarparu arch i achub ei dŷ. Crefydd foreu baratodd ffydd Abraham i gyflawni ei gorchestion, ac i enill ei buddugoliaethau. Crefydd fore nerthodd Joseph dan ei drallodion, ac i orchfygu ei brofedigaethau. Crefydd foreu fagodd rasau a doniau Job, a Josua, a Samuel, a Dafydd, a Solomon, a Hesecia, a Josia, a Daniel a'i dri chyfaill, a Ioan Fedyddiwr, a Timothy, a Miriam, a Hanna, ac Esther, a morwynig gwraig Naaman, a Mair, a Martha, a miloedd o feibion a merched mewn oesoedd ar ol hyny. Yn nyddiau eu hieuenctyd y darfu iddynt osod i lawr sail dda i'w defnyddioldeb a'u henwogrwydd.

Gellid dweyd yr un peth am John Knox, a Philip a Mathew Henry, a llawer o'u ceraint, a Watts, a Doddridge, a Whitfield, a Wesley, a Increase, a Cotton Mather, ac Edwards, a Dwight, Morrison, a Williams, Moffat, a Carey, a Hall, a Jay, a Bogue, a Pye Smith, a Spencer, a miloedd eraill o'r rhai fuont fwyaf defnyddiol yn eglwys Crist.

III. Cyfarwyddiadau i ufuddhau i'r gorchymyn pwysfawr hwn. Ceir cymorth a chyfarwyddyd,

1. Wrth chwilio yr Ysgrythyrau. "Gwyn ei fyd yr hwn sydd a'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn

ei gyfraith ef ddydd a nos. Efe a fydd fel pren wedi ei blannu ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd; a'i ddalen ni wywa; a pha beth bynag a wnel, efe a lwydda." "Pa fodd y glanha llanc ei lwybr? Wrth ymgadw yn ol dy air di." "Ac iti, er yn fachgen, wybod yr Ysgrythyr lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iechydwriaeth, trwy'r ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysprydoliaeth Duw; ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Nid oes dim all fod yn fwy buddiol i borthi myfyrdodau duwiol, i oleuo y meddwl, i sancteiddio a dyddanu y galon, ac i lanhau yr holl ymarweddiad nag ymroddi bob dydd i chwilio yr Ysgrythyrau.

2. Gochel hudoliaethau pechod. Llwybrau llithrig, llawn pydewau ydyw llwybrau pechod; a rhwydau a maglau fil o bob tu iddynt; a blodau hudol yn ymagor yma a thraw er denu y llygad o ffyrdd y nef, a throi y meddwl oddiwrth Dduw ein Creawdwr: ac abwyd gwenwynig wedi ei wisgo a melusder marwol wedi ei daenu yn mysg y blodau er nychu teimladau y galon a galluoedd yr enaid: ac nid oes modd i ieuenctyd na neb gofio eu Creawdwr, a rhedeg ar yr un pryd i lwybrau pechod. Mae'r enaid sy'n ymhyfrydu mewn pechod yn anghofio Duw; a'r enaid sy'n cofio Duw yn casau profedigaethau pechod.

3. Dilyn cyfeillach y saint, ac ordinhadau duwioldeb, yn enwedig ar ddydd yr Arglwydd. Ceir cymorth felly yn mhob cyfeillach, dan bob pregeth, ac wrth bob bwrdd cymundeb, i godi y serchiadau at bethau y nefoedd, ac i gadw Duw yn y cof, ac yn y galon.

4. Arfer gweddi. Gweddi ddirgel reolaidd; ac arfer y galon i anfon saeth-weddiau at Dduw ar bob amgylchiad. Mae'r dyn, neu'r ddynes ieuanc, sy'n hoffi gweddio yn cofio eu Creawdwr.

## CYSGU DAN BREGETH PAUL.

"Y rhai hyn a aethant o'r blaen, ac a arhosasant am danom yn Troas. A ninau a fordwyasom ymaith oddiwrth Philippi, ar ol dyddiau y bara croyw; ac a ddaethom atynt hwy i Troas mewn pùm niwrnod: lle yr arhosasom saith niwrnod. Ac ar y dydd cyntaf o'r wythnos, wedi i'r disgyblion ddyfod yn nghyd i dori bara, Paul a ymresymodd â hwynt, ar fedr myned ymaith dranoeth; ac efe a barhaodd yn ymadrodd hyd haner nos. Ac yr oedd llawer o lampau yn y llofft lle yr oeddynt wedi ymgasglu. A rhyw wr ieuangc, a'i enw Eutychus, a eisteddodd mewn ffenestr; ac efe a syrthiodd mewn trwmgwsg, tra yr oedd Paul yn ymresymu yn hir, wedi ei orchfygu gan gwsg, ac a gwympodd i lawr o'r drydedd lofft; ac a gyfodwyd i fyny yn farw. A Phaul a aeth i waered, ac a syrthiodd arno ef, a chan ei gofleidio, a ddywedodd, Na chyffroed arnoch: canys y mae ei enaid ynddo ef. Ac wedi iddo ddyfod i fyny, a thori bara, a bwyta, ac ymddiddan llawer hyd doriad y dydd; felly efe a aeth ymaith. A hwy a ddygasant y llanc yn fyw, ac a gysurwyd yn ddirfawr."—Act. 20. 5—12.

---

Teithiodd Paul trwy Macedonia, a thir Groeg, a llawer o wledydd Asia, i bregethu yr ymadrodd am y groes. Bu amryw weithiau yn Troas, hen le enwog, ar y gainc o fôr sy'n derfyn rhwng Europe ac Asia. Yn gyfagos i gysylltiad y gainc hono â'r Môr Du y mae Caercystenyn; ac yn y pen arall i'r gainc hono, ar gwr Môr y Canoldir, yr oedd Troas, yn y fan, neu yn ymyl y fan lle yr oedd Caerdroia enwog Homer, yr hon oedd yn ei gogoniant mwyaf dros fil o flynyddoedd cyn amser Paul. Pan ddaeth Paul i Troas y tro hwn, cyfarfu yno ag amryw o'i gymdeithion anwylaf a ffyddlonaf, megys, Sopater o Berea, Aristarcus a Lecundus o Thessalonica, Gaius o Derbe, Timotheus o Lystra, a Tychicus a Trophimus o'r Asiaid. Nid rhai o'r un oed, nac o'r un doniau, nac o'r un sefyllfaoedd, oedd cymdeithion Paul; ond yr oeddynt yn deall yr efengyl, ac wedi ei derbyn i'r galon, ac yn gwerthfawrogi ei bendithion; ac yr oeddynt yn foddlon i lafurio o'i phlaid.

Yr oedd yr efengyl wedi cyrhaedd i Troas cyn yr ymweliad

yma o'r eiddo Paul, ac yr oedd yno amryw wedi cael eu hennill i gredu yr efengyl. Ar y dydd cyntaf o'r wythnos, sef dydd yr Arglwydd, y cynaliwyd y cyfarfod dedwydd y cyfeirir ato yn y testyn. Yr oedd yr apostolion a'r Cristionogion cyntaf yn ofalus iawn am "sancteiddio dydd yr Arglwydd." Bernir i Paul gyrhaedd yno ar nos y Sabboth blaenorol, ond yn rhy hŵyr i gael cymundeb gyda'r eglwys yno, a'i fod wedi bwriadu cyrhaedd yno yn gynt; ond iddo fod yn hwy nag arferol ar y daith o Philippi i Troas. Felly penderfynodd aros yno am saith niwrnod, er mwyn cael un Sabboth yn Troas. Cyfarfu y gynulleidfa mewn goruwch-ystafell helaeth. Ni feddent yno na theml na synagog; ond yr oeddynt mewn ystafell eang, gyfleus, a dywedir fod ynddi "lawer o lampau." Hyfryd a chysurus iawn ydyw goleuni gyda phob gwasanaeth crefyddol. Goleuni i gael golwg lawn ar sirioldeb sanctaidd pob gwyneb. Goleuni i weled dagrau edifeirwch a chariad yn distaw dreiglo dros y rudd. Y mae goleuni yn gweddu i holl ranau gwaith yr Arglwydd. Yr oedd llawer o ddefodau coelgrefydd yn cael eu cyflawni dan leni y tywyllwch, mewn modd anweddaidd; ond y mae holl athrawiaethau, a holl ordinhadau yr efengyl yn cydweddu â'r goleuni. Nid "un ganwyll ddimai" oedd gan yr eglwys oedd yn Troas yn ei hystafell addoli, ond yr oedd yno "lawer o lampau;" ac yr oedd yn angenrheidiol eu cael, er gallu gweled i ddarllen Llyfr y nef, ac i dori a rhanu elfenau eu swper sanctaidd. Bu yno wasanaeth adeiladol ac effeithiol, darllen, canu, gweddio, cydymddyddan; a bu Paul yno yn areithio, neu yn pregethu, a bu yno gofio am farwolaeth Iesu; ac yr oedd yn wir effeithiol i glywed Paul yn dweyd y geiriau—"Canys myfi a dderbyniais gan yr Arglwydd, yr hyn hefyd a draddodais i chwi; bod i'r Arglwydd Iesu, y nos y bradychwyd ef, gymeryd bara, ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torodd, ac a ddywedodd, Cymerwch, bwytewch, hwn yw fy nghorff, yr hwn a dorir trosoch, gwnewch hyn er coffa am danaf. Yr un modd efe a gymerodd y cwpan wedi swperu, gan ddywedyd, Y cwpan hwn yw'r testament newydd

yn fy ngwaed; gwnewch hyn, cynifer gwaith bynag yr yfoch, er coffa am danaf. Canys cynifer gwaith bynag y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo." Yr oedd Paul yn hoff o adrodd gorchymyn grasol Crist pan fyddai yn cyfarfod eglwys o saint o gylch bwrdd y cymundeb.

Yr oedd yr odfa hono yn Troas yn un felus ac adeiladol, ond parhaodd yn faith, am eu bod yn meddwl na chaent byth gyfarfod felly ar ol y tro hwnw. Nis gwyddom yn sicr pa bryd y dechreuodd. Dichon iddi ddechreu ar awr gynar o'r dydd, a pharhaodd hyd haner nos, a hyd doriad y dydd dranoeth, nes oedd bron yn bryd i Paul gychwyn i'w daith.

Yr oedd yno, yn y cyfarfod, ryw wr ieuanc, o'r enw Eutychus, wedi dyfod yno trwy gymelliad ei gyfeillion, neu o awydd i glywed Paul a'i gyd-bregethwyr. Eisteddodd mewn ffenestr. Dichon nad oedd dim gwydr ar eu ffenestri yno, a bod y drws, neu y cauad, y pryd hyny yn agored, am fod yr ystafell mor lawn. Ymollyngodd Eutychus i gwsg, i drwmgwsg, ac wedi ei hollol orchfygu gan gwsg, efe a syrthiodd i lawr drwy'r ffenestr, o'r drydedd lofft, ac a gyfodwyd i fyny yn farw. Yr oedd yn drallod trwm ar ei gyfeillion ei godi i fyny wedi ei ladd gan y gwymp; ond aeth Paul i waered, ar ganol yr odfa, a syrthiodd arno, gan ei gofleidio, a dywedodd, Na chyffroed arnoch, canys y mae ei enaid ynddo ef. Nid rhyfedd fod cyffro drwy y gynulleidfa, ond pan ddaeth y llanc yn fyw, hwy a gysurwyd yn ddirfawr. Yr oedd eu cysur yn fawr ar ran y gwr ieuanc, oblegyd buasai yn drwm i adgofio ei fod wedi syrthio i'r farn, yn ei drwmgwsg, a hyny pan dan araeth cymundeb Paul. "Hwy a gysurwyd yn ddirfawr" ar ran ceraint y gwr ieuanc, oblegyd buasai yn alarus iddynt droi adref o'r cyfarfod i drefnu at gladdedigaeth Eutychus, ac yr oedd eu cysur yn fawr hefyd ar ran Paul, ac er mwyn anrhydedd yr efengyl. Diameu y buasai rhai yn beio brwdfrydedd Paul, a meithder ei bregeth, ac yn cymeryd achlysur i watwar ordinhadau crefydd, pe buasai y gwr ieuanc heb gael ei adferu; ond yr oedd

ei adferiad gwyrthiol felly, drwy nerth ffydd Paul, yn gysur i'r apostol, ac anrhydedd i'r efengyl. Y mae pob rhan o'r hanes yn llawn o addysg, ond cawn sylwi yn benaf yn

I. Ar wendid pechadurus Eutychus.

II. Yr achlysuron cyffredin o'r fath ymddygiad anweddus a niweidiol. Ac yn

III. Y pwys o wylio ac ymdrechu yn ei erbyn.

I. Gwendid beiadwy Eutychus.

"Syrthio mewn trwmgwsg." Cymeryd ei "orchfygu gan gwsg," a hyny dan ymresymiadau a chymelliadau pregeth Paul. Nid oes dim son am unrhyw anweddeidd-dra arall yn ei ymddygiad. Nid oes dim son ei fod drwy yr odfa yn edrych o'i ddeutu yn ysgafn ac yn gellweirus. Dim son ei fod wedi bod yn chwerthin, nac yn siarad â neb o'i gyd-ieuenctyd, buasai ymddygiad felly yn hynod o anweddus. Nid oes dim son ei fod wedi bod yn darllen, nac yn ysgrifenu, er mwyn bod yn ddiystyr o'r hyn oedd yn cael ei lefaru, na'i fod mewn un modd yn ceisio temtio eraill i beidio gwrando. Nid oes dim awgrym ei fod wedi bod yn ceisio gwrth-ddywedyd Paul, na cheisio rhesymu yn erbyn yr Efengyl, na dim son ei fod wedi cynyg cynhyrfu, na dychrynu, na therfysgu y gynulleidfa mewn unrhyw ddull ; ond ymollyngodd yn raddol i'r brofedigaeth a grybwyllwyd. Syrthiodd i drwmgwsg dan y bregeth. Dichon iddo ddewis lle manteisiol i gysgu, er ei fod yn lle peryglus : ac yna ymollyngodd o radd i radd i ddifaterwch, i ddiflasdod. i farweidd-dra, a dechreuodd hepian, a gorchfygwyd ef gan gwsg, ac yn ei drwmgwsg, syrthiodd drwy'r ffenestr, o dri uchder, i lawr ar balmant yr heol, er cyffro a dychryn i bawb oedd yn yr odfa, a chyfodwyd ef i fyny yn farw.

II. Yr achosion, neu yr achlysuron cyffredin o'r fath ymddygiad anweddaidd a niweidiol. Gall fod pedwar dosbarth o achosion.

1. Dylanwad dichellgar gelynion ysprydol ac anweledig Gwyddir fod gan y diafol a'i angylion hen elyniaeth yn erbyn crefydd a'i hordinhadau, a llid mawr yn erbyn holl addolwyr

crefydd. Ac y maent yn lliosog, yn hen, yn gyfrwys, yn ddiwyd, a chanddynt lawer ffordd i ddylanwadu er gwneud drwg. Medrant ddylanwadu ar gyrff ac ar feddyliau. Nis gwyddom yn sicr pa fodd y maent yn medru dylanwadu. Medrant wasgu y meddwl weithiau i fod yn brudd ac yn isel, a'i gynhyrfu bryd arall i fod yn ysgafn ac yn gellweirus; ac y maent drwy'r meddwl, a dichon mewn dulliau eraill, yn medru effeithio ar wyniau a chwantau y corff. Ond nid yw yn iawn i roddi y bai oll ar y diafol a'i luoedd.

2. Gall achosion i gysgadrwydd godi oddiwrth amgylchiadau perthynol i ddygiad yn mlaen y moddion, neu y gwasanaeth. Gall fod odfa yn rhy faith, yn rhy hir i alluoedd y corff fedru ei dal, yn rhy hir i alluoedd y meddwl fedru ei defnyddio; a lle y bydd meithder moddion yn ormod o faich i'r corff ac i'r meddwl, ni bydd yno ddim mwynhad, ddim dyddanwch i'r galon, na gwledd i'r profiad. A chan fod moddion crefyddol mor liosog, ac mor amrywiaethol yn ein hoes ni, y mae byrdra yn llawer buddiolach na meithder. Gall fod hefyd ry fach o fywyd yn y moddion, yn y bregeth, yn y gân, yn y weddi yn y cyngor, yn yr ymresymu. Y bregeth heb feddyliau byw ynddi, neu heb fywyd yn y dull o'u traddodi. Lle y bydd marweidd-dra gyda dygiad yn mlaen y moddion, yn yr addoliad teuluaidd, neu yn yr Ysgol Sabbothol, neu yn y gymdeithas grefyddol, neu yn yr odfa gyhoeddus, bydd y gwrandawyr yn debyg o ymollwng i gysgadrwydd. Gall y moddion hefyd gael eu cynal yn anamserol, cyn y dydd, neu yn mhoethder gwres y dydd, neu yn nhrymder y nos. Gall y moddion fod yn anghymwysiadol, trwy geisio esbonio pethau rhy ddyfnion i fabanod yr eglwys, neu driu pethau mawrion crefydd mewn iaith aneglur; neu ynte drwy geisio cadw meddyliau cryfion hen gredinwyr at egwyddorion dechreuad rhai yn Nghrist, heb geisio byth eu porthi â gwybodaeth ac â deall. A gall y moddion hefyd fod yn rhy unrhywiol. Dylai gweinidogaeth yr efengyl fod yn llawn o amrywiaeth, oblegyd y mae y Beibl oll drwyddo yn llawn o amrywiaeth. Os byddir am

gadw cysgadrwydd yn mhell o gynlluniau crefyddol, dylid ymdrechu gwneud y moddion yn fywiog, yn gymwysiadol, ac yn llawn o amrywiaeth, ac ysgoi meithder, a phob oriau anamserol.

3. Gall achosion cysgadrwydd godi oddiwrth amgylchiadau perthynol i'r corff. Gellir ei luddedu â gormod o lafur, yn ngwres y dydd, drwy ystod yr wythnos, ac yn enwedig trwy y dydd o flaen y Sabboth. Gellir ei gadw yn ormodol oddiwrth gwsg drwy ystod nosweithiau yr wythnos gan addaw iddo y caiff gyflawni y diffyg pan ddel y Sabboth i "orphwys." Gellir hefyd ei lwytho ar ddydd yr Arglwydd â gormod o luniaeth. Mae rhai am wneud y Sabboth yn ddydd gwledd, ac yn parotoi brasach lluniaeth erbyn y dydd hwnw nag ar unrhyw adeg arall.

4. Gall cysgadrwydd gael ei achosi gan gyflwr y meddwl, trwy adael i'r meddwl fod yn llwfr a diwaith a diog, trwy beidio byth gwregysu ei lwynau, a'i arfer i ymdrechu deall a chofio pethau'r Beibl. Y mae o bwys anrhaethol i arfer galluoedd y meddwl i weithredu yn fywiog, ac yn rheolaidd, i arfer ei ffrwyno, a'i ddisgyblu i fyfyrio dros amser penodedig, ar bwnc gosodedig. Nid yw cysgu dan y bregeth ddim yn brofedigaeth i feddwl wedi dysgu myfyrio felly; ond lle y mae anystyriaeth o bwys a gogoniant pethau crefydd—o hollbresenoldeb Duw—a gwerth enaid—a golud iachawdwriaeth—ac ansicrwydd bywyd—a manylrwydd dydd y cyfrif—a rhyfeddodau diderfyn tragywyddoldeb, y mae yno hefyd ddiffyg awch i fyfyrio, a diffyg teimlad byw cynes; a dewisir, yn lle gwneud dim egni i wrando a deall a thrysori yn y côf, ymollwng i afael cwsg.

III. Y pwys anrhaethol o wylio yn erbyn ymddygiad mor anweddaidd, ac mor niweidiol.

1. Y mae yn ddirmyg uniongyrchol ar ordinhadau Cristionogaeth, ac yn tueddu i wneud argraff ar y byd eu bod yn ordinhadau dibwys a diwerth, ac nad oes dim hyfrydwch ynddynt. Ni chysgid mewn marchnad wrth ddethol a phrynu

nwyddau. Nid ellid cysgu mewn cymdeithas yn nghanol y cyd-ymddyddan heb daflu dirmyg i wyneb yr holl gymdeithion. Nid ellid cysgu mewn llŷs barn ar achos pwysig heb i hyny fod yn ddirmyg ar y barnwr a holl awdurdodau y gyfraith. Nid ellid cysgu mewn athrofa heb ddirmygu addysg yr athraw, a gosod y siampl fwyaf waradwyddus o flaen y cydysgolheigion. Nid ellid cysgu o flaen gorseddfainc brenin, heb ddirmygu yn y modd mwyaf anfoneddigaidd awdurdod ei lŷs. Nid ellir cysgu gyda gorchwylion cyffredin, heb beryglu iddynt fod heb eu gorphen pan y bydd y dydd yn darfod. Nid ellir cysgu mewn brwydr heb beryglu y bywyd bob moment, a dichon roddi lle i'r gelyn ddyfod i mewn fel afon, ac enill y fuddugoliaeth drwy anwyliadwriaeth andwyol y cysgadur, ac nid ellir cysgu yn athrofa crefydd heb daflu dirmyg ar yr Athraw mawr. Nid ellir cysgu dan ordinhadau duwioldeb heb ddianrhydeddu eu gogoniant. Nid ellir cysgu yn y frwydr yn myddin yr Oen, heb roddi mantais i'r gelyn, a digio Tywysog y filwriaeth.

2. Y mae cysgu dan y gân, neu y bregeth, neu y weddi, yn siampl o'r dylanwad mwyaf niweidiol. Y mae yn tueddu i ddigaloni y pregethwr ac i ladd ei yspryd, ac felly nychu nerth ei ymadrodd. Y mae yn tueddu i farweiddio y cyd-wrandawyr, neu i droi eu sylw oddiwrth y pethau fydd yn cael eu cymell i'w hystyriaeth, ac y mae yn cynhyrfu ambell i hen ddisgyblwr selog i nwydau ac agweddiadau ag fyddant bron mor brofedigaethus i rai o'r edrychwyr a chwyrniad neu ben-gwympiad y cysgadur.

3. Mae'r hwn sydd yn cysgu dan weinidogaeth yr efengyl yn gwneud cam arswydus a'i enaid ei hun. Mae'n nychu holl alluoedd ei enaid, ei ddeall, ei gôf, ei serchiadau, a'i gydwybod. Gallasai fod mwy o gyfoeth yn ei feddwl, mwy o drysorau yn ei gôf, a mwy o orfoledd yn ei galon, oni buasai ei gysgadrwydd. Nid ellir casglu dim lles i'r enaid, dim grym na chysur i'r profiad pan y byddir mewn trwmgwsg. Nid ellir goleuo y deall, na thrysori yn y côf, nag arfogi y meddwl, na thyneru

y gydwybod, na chyfoethogi y profiad, na gosod i lawr sail dda am ddefnyddioldeb a grym a chysur yn yr amser a ddaw pan y bydd un wedi cael ei orchfygu gan gwsg. A bydd y fath arferiad yn sicr o galedu y galon waeth waeth, a'i rhwydo i afael profedigaethau eraill, nes o'r diwedd ei handwyo.

4. Daw euogrwydd a galar i wasgu ar yr enaid o herwydd ymollwng dan lywodraeth pechod mor niweidiol. Daw amserau pwysig a difrifol i adgofio ac adolygu y breintiau gwerthfawr a gamddefnyddiwyd. Daw y "dyddiau blin," os ceir byw i'w gweled. Bydd galar trwm y pryd hyny eisiau gwneuthur defnydd gwell o dymor iechyd, o adegau gwerthfawr moddion gras, o wyliau hafaidd ordinhadau addysg a duwioldeb. Daw amser marw, yr amser i gefnu ar holl freintiau daear, i rodio ar hyd glyn cysgod angau, i rydio llif yr afon ddu, i wynebu yr ymdrech â'r gelyn diweddaf: a thrwm iawn fydd yr adgofion y pryd hyny am y Sabbothau gwerthfawr a gamdreuliwyd ac am y rhagorfreintiau goludog a hyfryd a gamddefnyddiwyd. A daw dydd barn. Ni cheir dim cysgu y pryd hyny, pan y bydd yr udgorn yn canu, a'r creigiau yn hollti, a'r ddaear yn ymsiglo fel meddwyn, a'r nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, a'r beddau yn ymagor, a'r meirw yn cyfodi, a'r elfenau gan wir wres yn toddi, a'r Barnwr yn dyfod gyda'r cymylau, a'r gorseddfeinciau yn cael eu gosod, a'r farn yn eistedd, a'r llyfrau yn cael eu hagor, a phawb yn cael eu barnu yn ol eu gweithredoedd. Bydd adgof trwm yn y dydd ofnadwy a gogoneddus hwnw am gamdreulio dydd yr iachawdwriaeth mewn anystyriaeth a marweidd-dra a chysgadrwydd.

CYMHWYSIAD.

Nid ydym wedi dewis y testyn yma heddyw ar y dybiaeth fod y bai dan sylw yn fwy o brofedigaeth i'r gynulleidfa yma nag i gynulleidfaoedd eraill. Nid oes genym ddim sail i feddwl hyny. Ac nid ydym ychwaith yn meddwl ei fod yn fwy profedigaeth i ni y dyddiau hyn nag ar amserau eraill. Yr oedd y gweinidog tyner-galon a ffyddlon oedd yma o'n blaen

ni yn ofalus am ysgoi meithder, am iaith eglur, ac am gyfoethogi ei bregethau â mer ac â brasder yr efengyl, a dichon fod y gynulleidfa yma wedi bod mor rydd oddiwrth gysgadrwydd ag yr un gynulleidfa yn ein gwlad. Ond nid anfuddiol ydyw gwasgu yn fynych at ystyriaethau ieuenctyd y pwys anrhaethadwy iddynt wneud defnydd priodol, mewn dull effro, bywiog, dyfal, a difrifol, o'r oriau gwerthfawr, y maent yn gael eu treulio o bryd i bryd yn nghysegr yr Arglwydd. Dylent roddi eu bryd ar ddyfod yno yn brydlawn, ac aros hyd ddiwedd y moddion; a bod yn astud a sobr, a'u llygad yn syml, a'u gwedd yn ddifrifol, a chadw eu holl enaid a'u holl galon ar waith. Y mae ymddygiad felly yn weddaidd, yn hardd, ac yn gymeradwy ger bron dynion ac angylion, a bydd yn enill ac yn adeiladaeth i'r profiad. Bydd yn sicr o effeithio yn dda ar holl gyflawniadau a holl fwynderau yr oes, ëanga y defnyddioldeb, derchafa y cymeriad, lliosoga y cysuron, a mwyha y gorfoledd a'r gogoniant mewn sefyllfa ddyfodol.

---

## "BRENINES Y DEHAU."

"Brenines y dehau a gyfyd yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i condemnia hi; am iddi hi ddyfod o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb Solomon: ac wele fwy na Solomon yma."—Matt. 12. 42.

Ystyriwn y ffeithiau hanesyddol a grybwyllir yn yr adnod, a'r gwersi ymarferol oedd Iesu am i ni ddysgu oddiwrthynt.

I. Y ffeithiau hanesyddol. Crybwyllir tair: Doethineb Solomon. Ymweliad brenines y dehau i glywed ei ddoethineb. Fod Iesu yn fwy na Solomon. Mewn perthynas i ddoethineb Solomon, gellir sylwi yn

1. Iddo ei chael mewn atebiad i weddi. Cadwodd ŵyl

fawr i'r Arglwydd ei Dduw yn Gibeon, yn nechreu ei deyrnasiad. Ymddangosodd yr Arglwydd iddo ar ddull ardderchog mewn breuddwyd, gan ei anog yn rasol i ofyn yr hyn yn benaf a ddewisai gael. Gofynodd yntau, mewn yspryd diolchgar, taer a gostyngedig, am ddoethineb i lenwi ei gylch uchel, ac i gyflawni ei swydd bwysig mewn dull priodol er gogoniant ei Dduw, ac er lles ei deyrnas. Hoffodd yr Arglwydd ei weddi, ac yspryd ei weddi, ac atebodd yn drugarog, gan ei fod wedi gofyn doethineb i fod yn ddefnyddiol yn hytrach na gofyn am amlder golud a rhwysg daearol, nac am einioes ei elynion, y cyflawnid ei ddymuniad—y cai ddoethineb, ac y cai y pethau eraill yn ychwaneg.

2. Casglodd ei ddoethineb trwy ddiwydrwydd a llafur, yn yr ymarferiad â moddion, ar lwybr dyledswydd. Er ei fod yn gweddio am ddoethineb, nid oedd yn disgwyl ei chael trwy ddoniau gwyrthiol. Yr oedd ganddo alluoedd a doniau naturiol cyflym a chryfion; ond llafuriodd yn ddyfal i gyrhaedd doethineb, gan ddefnyddio pob cyfleusdra yn ei gyrhaedd i ddarllen, a gwrando, a holi, a chwilio, a sylwi a myfyrio. Diwyd ymegniodd i ddefnyddio ei holl fanteision er cyrhaedd doethineb, a rhaid i bawb fyddont am gyrhaedd gwybodaeth a doethineb ddilyn ei siampl. Nid yw eu trysorau gwerthfawr i'w cael heb lafur. Rhaid eu ceisio fel ceisio arian Rhaid cloddio yn ddwfn am danynt. Ni ddaeth neb erioed i afael eu trysorau heb ymdrech a diwydrwydd.

3. Ymroddodd yn more ei oes i lafurio am ddoethineb. Nid oedd ond llanc tan ugain oed, ar adeg yr ŵyl yn Gibeon. Yr oedd yn ystyriol o werth doethineb cyn iddo weddio ei weddi hynod yno. Dichon ei fod y pryd hyny tua phedair ar bymtheg oed. Yr oedd wedi llafurio am wybodaeth cyn hyny drwy dymor gwerthfawr ei febyd, a pharhaodd i lafurio yn egniol am hir flynyddoedd ar ol hyny.

4. Yr oedd ei ddoethineb yn un o gylch ëang. Fel un wedi difrifol astudio priodolaethau Duw, a chyfreithiau ei lywodraeth, a throion ei ragluniaeth, yr oedd yn dduwinydd. Fel

un wedi astudio hanes dynion drwg a da, yr oedd yn hanesydd. Fel un wedi astudio egwyddorion iawnder a chysur cymdeithasol, yr oedd yn llywydd. Fel un ag oedd wedi astudio seryddiaeth a daearyddiaeth, fferylliaeth ac amaethyddiaeth, a natur coedydd, a llysiau, a mŵnau, yr oedd yn anianydd. Yr oedd hefyd wedi astudio deddfau morwriaeth, a masnach, ac adeiladaeth, a rheolau barddoniaeth, cerddoriaeth, ac areithyddiaeth, a phob gwybodaeth a chelfyddyd allai fod o fudd iddo er ei ddylanwad a'i ddefnyddioldeb.

5. Yr oedd ei ddoethineb yn un o fudd ymarferol a chyffredinol. Buasai yn hawdd i un yn ei sefyllfa ef, adael i alluoedd ei feddwl a theimladau ei galon redeg ar ol rhyw un gangen, a hono dichon yn un o ail radd o ran ei phwysfawredd. Buasai felly yn camdreulio ei amser, er colled iddo ei hun a'i deyrnas. Dichon y gallasai lwyddo i ddysgu holl ieithoedd y ddaear, ond ni buasai hyny o gymaint budd iddo fel brenin Israel. Gallasai roddi ei holl fryd ar anianyddiaeth, a thwy hyny esgeuluso llywod-ddysg a duwinyddiaeth, ond buasai felly yn culhau ei ddefnyddioldeb. Y mae yn amlwg oddiwrth ei ddeddfau, a'i ddiarebion, a'i bregethau, a'i ymddygiadau cyffredinol, mai tuedd, ac enaid, a choron ei ddoethineb oedd defnyddioldeb.

6. Gallasai ei ddoethineb fod yn loywach, ac yn gryfach, ac ëangach, yn uwch a dyfnach, yn fwy defnyddiol, ac anrhydeddus oni buasai pechod. Gadawodd i'w galon fyned ar ol pleserau gwaharddedig. Ymollyngodd o radd i radd i holl lygredigaethau eilunaddoliaeth. Ni "chyflawnodd" ddilyn ar ol yr Arglwydd ei Dduw. Pe buasai heb ymadael a'i gariad cyntaf, ac yn aros yn yr yspryd oedd yn ei lenwi yn adeg oleu ei aberth a'i weddi yn yr ŵyl fawr yn Gibeon, buasai ei wybodaeth yn llawer ëangach a phurach, buasai ei ddoethineb yn llawer llawnach, a'i gymeriad yn uwch ac yn ddysgleiriach, a'i enw yn fwy anrhydeddus a chlodfawr, a'i fywyd yn fwy defnyddiol a dedwydd.

II. Yr ail ffaith yn y testyn ydyw—Dyfodiad brenines y

dehau o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb Solomon. Crybwyllir am ei hymweliad yn llyfr y Breninoedd yn yr iaith ganlynol: "A phan glybu brenines Seba glod Solomon, am enw yr Arglwydd, hi a ddaeth i'w brofi ef â chwestiynau caled. A hi a ddaeth i Jerusalem â llu mawr iawn, a chamelod yn dwyn aroglau, ac aur lawer iawn, a meini gwerthfawr. A hi a ddaeth at Solomon, ac a lefarodd wrtho ef yr hyn oll oedd yn ei chalon. A Solomon a fynegodd iddi hi ei holl ofynion, nid oedd dim yn guddiedig rhag y brenin, ar na fynegodd efe iddi hi. A phan welodd brenines Seba holl ddoethineb Solomon, a'r tŷ a adeiladasai efe, a bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad ei weision, a threfn ei weinidogion, a'u dillad hwynt, a'i drulliadau ef, a'i esgynfa ar hyd yr hon yr âi efe i fyny i dŷ yr Arglwydd, nid oedd mwyach yspryd ynddi. A hi a ddywedodd wrth y brenin, Gwir yw'r gair a glywais yn fy ngwlad am dy ymadroddion di, ac am dy ddoethineb. Eto ni chredais y geiriau, nes i'm ddyfod, ac i'm llygaid weled; ac wele, ni fynegasid i mi'r haner: mwy yw dy ddoethineb a'th ddaioni na'r clod a glywais i. Gwyn fyd dy wŷr di, gwyn fyd dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll yn wastadol ger dy fron di, yn clywed dy ddoethineb. Bendigedig fyddo'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th hoffodd di, i'th roddi ar deyrn gadair Israel; o herwydd cariad yr Arglwydd tu ag at Israel yn dragywydd y gosododd efe di yn frenin i wneuthur barn a chyfiawnder. A hi a roddes i'r brenin chwech ugain talent o aur, a pheraroglau lawer iawn, a meini gwerthfawr; ni ddaeth y fath beraroglau mwyach cyn amled â'r rhai a roddes brenines Seba i'r brenin Solomon."

Nid hawdd penderfynu pwy oedd brenines Seba. Y farn gryfaf ydyw, fod ei gwlad yn gorwedd ar oror deheuol Arabia Felix, gyda glan y Môr Coch, ac yn ymestyn hyd at lan Môr India, mewn lle enwog am amrywiaeth peraroglau, ac am aur, a meini gwerthfawr; a bernir ei bod yn un o hiliogaeth Abraham o Cetura. Y mae yn amlwg oddiwrth yr anrhegion a ddygodd i Solomon, ac oddiwrth y llu mawr iawn oedd yn ei

chanlyn, fel gosgordd iddi, ei bod yn frenines o gyfoeth mawr. Y mae'n amlwg hefyd ei bod yn un gall, gyfrwys, a synwyrol. Yr oedd gyda hyny yn un ffraeth ymadroddus. Yr oedd hefyd yn un ymofyngar, ac yn foddlon i fyned i draul, a thrafferth, a llafur, a pherygl, er chwilio am wybodaeth: canys parotodd "gwestiynau celyd," a daeth, drwy anhawsderau o eithafoedd y ddaear, i glywed doethineb Solomon, ac i weled trefn ei lŷs a'i lywodraeth. Y mae yn amlwg hefyd ei bod yn hoffi "barn a chyfiawnder," a'i bod yn ewyllysio yn dda i'w chymydogion, oblegyd yr oedd yn llawenychu yn fawr yn ffyniant Israel. A'r hyn oedd yn coroni ei holl rinweddau oedd ei bod yn cydnabod yr Arglwydd, ac wedi dysgu holi, a meddwl, a son am ei enw a'i weithredoedd. Yr oedd yn wir hyfryd ei chlywed yn canmol yr Arglwydd yn gyhoeddus yn nghlywedigaeth ei gweision ei hun a gweision Solomon. Yr oedd yn medru dweyd yn uchel ac yn gynes "Bendigedig fyddo'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th hoffodd di i'th roddi a'r deyrn-gadair Israel; o herwydd cariad yr Arglwydd tu ag at Israel yn dragywydd y gosododd efe di yn frenin i wneuthur barn a chyfiawnder." Yr oedd yn addysg i feddwl Solomon, ac yn gymorth i'w dduwioldeb, ei chlywed yn bendithio yr Arglwydd am ei gariad tragywyddol tu ag at Israel, ac yn cydnabod fod pob doethineb a phob daioni i lywodraethwyr a'u deiliaid, yn deilliaw o gariad a thrugareddau yr Arglwydd.

Clywodd gan weision Hiram, a dichon gan farsiandwyr eraill ag oeddynt yn mordwyo o Eziongaber ar hyd y Môr Coch i Seba ac i Ophir i gyrchu aur a pheraroglau, am gyfoeth a chywreinrwydd, a doethineb, a mawredd Solomon; a theimlodd awydd cryf i ddyfod i weled trefn ei lŷs, a gwasanaeth ei deml, ac i glywed ymadroddion ei ddoethineb; er cael cyfle i farnu drosti ei hun: ac er mai dynes oedd, a bod ganddi ofalon pwysig yn ei thŷ, a'i llŷs, a'i theyrnas; ac er bod y daith o Seba i Jerusalem yn dros fil o filldiroedd, a rhanau o honi drwy anial-leoedd peryglus; ac er nad oedd ddim yn sicr y cai roesaw yn llŷs Solomon, eto torodd drwy bob digalondid a

rhwystrau, a daeth yr holl ffordd i Jerusalem. A llwyddodd yn ei hamcan. Cafodd ei dymuniad. Cafodd y croesaw siriolaf. Cafodd gyfle i weled llŷs Solomon, a'i esgynfa ar hyd yr hon yr ai efe i fyny i dŷ yr Arglwydd. Cafodd fwynhau gwasanaeth y deml. Cafodd gyfle i ofyn ei "chwestiynau celyd," ac y mae yn amlwg ei bod yn un enwog am holi, a holi yn fanwl yn nghylch marsiandiaeth a masnach, a iawnderau cymdeithasol, a deddfau anian, ac egwyddorion duwinyddiaeth ac ordinhadau crefydd. Cafodd gyfle i holi "yr oll oedd yn ei chalon. Mynegodd Solomon iddi ei holl ofynion. Cafodd y boddhad llwyraf yn ei esboniadau. Tystiodd na fynegasid iddi yr haner am ei ddoethineb a'i ddaioni. Gadawodd ei hanrhegion gwerthfawr iddo, Dychwelodd yn ddedwydd a diogel i'w gwlad, wedi cael hyfrydwch ac addysg, ac wedi cael barn uwch nag oedd ganddi o'r blaen am Dduw Abraham, ac am gysuron a gogoniant gwir grefydd. Yr oedd yr adgofion am y daith fawr i Jerusalem yn adfywiol i'w phrofiad am weddill ei hoes, a buont yn gymelliadol ac yn gyfarwyddiadol iddi i fod yn ddefnyddiol yn ei breniniaeth.

III. Ffaith fawr arall ein testyn ydyw, fod yr Athraw mawr ag oedd y pryd hyny yn ymddyddan â'r Iuddewon yn fwy na Solomon. Nid o ran mawredd daearol. Nid o ran addurn ei wisgoedd, na dodrefn ei dŷ, nac arlwy ei fwrdd, na nifer ei weision, na threfn a thrwsiad ei feirch a'i gerbydau; nid o ran perlau ei goron, na godidowgrwydd ei orsedd. Nid ychwaith o ran nerth na harddwch corfforol, tegwch ei wedd, cylch ei lais, neu edrychiad ei olygon. Ond yr oedd yn fwy, yn anfeidrol fwy, o ran gogoniant ei berson fel Immanuel, am fod "Ynddo ef holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Yr oedd yn uwch na'r nefoedd, a daeth yn is na'r nefoedd, er bod yn frawd i ni. Yn fwy o ran ei athrawiaeth. Yr oedd yn gallu esbonio pethau mwy, uwch a dyfnach na Solomon, am Dduw a'i iachawdwriaeth, am enaid a byd arall. Yn fwy o ran ei swyddau fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion. Y mae yn Offeiriad yn dragywyddol, yn Archoffeiriad mawr ar

dŷ Dduw. Y mae yn Broffwyd anffaeledig yn yr oll a ddywedodd. Y mae yn Frenin yn oes oesoedd, yn Frenin breninoedd, a theyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen ei deyrnas. Y mae yn etifedd ac anwylyd y Tad, yn Dywysog angylion, yn Gapten iachawdwriaeth pechadur, yn Ben ei Eglwys, yn Farnydd yr holl ddaear, yn Gynalydd yr holl greadigaeth, ac yn Llywydd holl oruchwyliaethau rhagluniaeth. Y mae yn fwy o ran ei enwögrwydd. Yr oedd clod Solomon wedi cyrhaedd yn mhell. Yr oedd llawer o wledydd yn gwybod am ei ddoethineb a'i ogoniant; ond y mae clodydd Iesu wedi myned yn llawer pellach, ac nid yw ei glod ond prin dechreu ymledu, â yn fuan dros holl gyfandiroedd a holl ynysoedd y byd. Y mae wedi cyrhaedd yn barod drwy wledydd Europe, drwy barthau o Asia ac Affrica, dros lawer o gyfandiroedd America, drwy amryw o ynysoedd Australasia a Polynesia, ac i rai o Ynysoedd Môr y De, a moroedd oerion y Gogledd, bydd ei enw yn fuan yn ben moliant dros y ddaear

Y mae Iesu yn anrhaethol fwy na Solomon o ran ei dderchafiad a'i awdurdod yn y nefoedd. Y mae Solomon yno, ond y mae yno fel pechadur mawr wedi ei achub, fel un wedi ei olchi a'i gyfiawnhau drwy gyfryngdod Iesu. Bydd yno yn ddedwydd byth, ond fel sant, fel gwas, yn un o'r gwaredigion, a bydd yno laweroedd yn uwch nag ef, yn nês i'r orsedd, yn anrhydeddusach eu lle a'u swydd, ac yn ëangach eu cylchoedd; ond Iesu fydd yno yn y canol, efe fydd ar yr orsedd. Arno ef y bydd pob llygad yn syllu. Iddo ef y bydd pob tafod yn canu. Ac oddiwrtho ef y bydd pob calon yn tynu ei hyfrydwch.

Y gwersi pwysig a ddysgir i ni oddiwrth y ffeithiau crybwylledig.

1. Fod Iesu, y mwy na Solomon, eto yn mhob man lle y bydd ei efengyl a'i ordinhadau. Y mae yn mhob teulu a phob cynulleidfa lle y mae addoli. Nid yn bersonol weladwy, nid fel y gellir gweled ei wyneb a chlywed ei lais; ond yn ei addysg a'i gariad, yn ei ddoethineb a'i barodrwydd i achub. Nid

oes dim yn fwy eglur na bod Iesu yn y canol lle y bydd ei bobl yn addoli, a dyna ddigon iddynt.

2. Fod barn i fod. Nid yw Iesu ddim yma yn rhesymu y bydd barn; ond yn unig crybwyll y bydd barn, ac y mae yn awgrymu y bydd yn gyffredinol. Bydd gwŷr Ninife yno. Bydd breninea y dehau a'i deiliaid yno. Bydd Iuddewon yno, a chenedloedd yno; cenedlaethau yr hen oesoedd yno, a chenedlaethau yr oesoedd diweddaf yno. Bydd yn farn fanol. Bernir pawb yn ol eu breintiau a'u hymddygiadau. Bydd yn farn derfynol. Ni bydd yr un llŷs uwch i adolygu gwaith y farn, ac ni newidir byth ei dedryd. Bydd y cyfiawnhau a'r condemnio i aros byth. Yr oedd saint yr Hen Destament yn gwybod am y farn, ac yn mynych gyfeirio ati; a phe byddai i ninau, dan oruchwyliaeth uwch ei breintiau, feddwl mwy am y farn, effeithiai hyny yn dda ar ein calonau a'n myfyrdodau, ar ein gweddiau a'n caniadau, ar ein hymddyddanion a'n hymarweddiad.

3. Y bydd condemnio trwm iawn yn y farn ar wrthodwyr addysg Iesu. Bydd yn drwm ar y cynddiluwiaid anffyddiog am ddirmygu pregeth Noah. Bydd yn drwm ar breswylwyr Sodom am ddiystyru cyngorion Lot. Bydd yn drwm ar Pharaoh a'i gapteniaid am wrthod ystyried rhybuddion Moses. Bydd yn drwm ar lwythau Israel y rhai ni fynent wrando ar broffwydi yr Arglwydd. Bydd yn drwm ar y Babyloniaid am wadu a gwrthod Duw Daniel a llanciau y ffwrn dân; ond bydd yn drymach ar bobl Jerusalem, Capernaum, a Chorazin a Bethsaida am wrthod a dirmygu gweinidogaeth Iesu; ac os bydd i rai o Gymry ein hoes ni wrthod efengyl Iesu, bydd mwy o godi yn y farn yn eu herbyn nag yn erbyn neb. Bydd cynddiluwiaid, a Ninifeaid, a Babyloniaid, a deiliaid breninea Seba, a holl lwythau goruchwyliaethau yr hen oesau yn codi yn eu herbyn i'w condemnio: a bydd pobl dinasoedd Judea yn gallu eu condemnio am eu bod wedi cael rhagorach manteision i adnabod Iesu nag a gawsant hwy: a bydd holl genedloedd Paganaidd y byd yn codi i'w herbyn ac yn eu cô-

demnio. Bydd eu ceraint duwiol yn eu condemnio. Bydd duwiolion pob oes a gwlad yn eu condemnio. Bydd saint ac angylion y nef yn eu condemnio: a phan y bydd Iesu o'i orsedd farnol yn cyhoeddi dedryd eu damnedigaeth, bydd "Amen" uchel o bob cwr yn adseinio ei bod yn gyfiawn ac yn gywir. Derbyniwn gynygion Iesu, a bydd dydd y farn yn ddydd o orfoledd i ni.



## YMWTHIO I DEYRNAS DDUW.



"Y gyfraith a'r proffwydi oedd hyd Ioan; er y pryd hwnw y pregethir teyrnas Dduw; a phob dyn sydd yn ymwthio iddi."—Luc 16. 16.



"Y gyfraith a'r proffwydi oedd hyd Ioan;" hyny yw, yr oedd ordinhadau a defodau cyfraith Moses mewn grym hyd amser Ioan; ac nid yn unig yr oeddynt mewn grym, ond yr oeddynt yn angenrheidiol er addysg a sancteiddiad a dyddanwch yr addolwyr. Ond dechreuodd Ioan "bregethu teyrnas Dduw," sef fod dyben defodau y gyfraith Iuddewig wedi cael ei gyflawni, a bod eu gogoniant i ddiflanu, fod dydd goruchwyliaeth newydd anrhaethol fwy gogoneddus yn gwawrio: a bod y Messiah addewedig, Eneiniog y nefoedd, wedi ymddangos; a'i fod ef wedi cael ei anfon i bregethu "edifeirwch," ac i gyngori pawb i droi eu golwg oddiwrth y seremoniau Iuddewig at Oen Duw ag oedd wedi dyfod i dynu ymaith bechodau y byd; yr oedd yn anog pawb i droi oddiwrth y cysgodau at y Sylwedd, oddiwrth waed yr aberthau mân at rinweddau gwaed yr Aberth mawr. Bu pregeth Ioan mor lwyddianus fel yr oedd "pob dyn" a ymroddai i wrando arno, fel pe buasai am "ymwthio i deyrnas Dduw." Yr oedd pedwar peth yn cyd-

effeithio er gwneud ei weinidogaeth mor effeithiol: amser ac amgylchiadau ei enedigaeth—ei ddull neillduedig o fyw—pwysfawredd ei genadwri—a'i ddull o'i thraddodi.

1. Amgylchiadau ei enedigaeth. Ganwyd ef o deulu ffyddiog, cyfiawn, chwe' mis cyn géni yr Iesu. Yr oedd ei dad Zacarias yn offeiriad o ddyddgylch Abia, a'i fam Elizabeth yn un o ferched Aaron; ac yr oeddynt eill dau yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd. Pan oedd Zacarias, yn ei dro, yn arogldarthu yn nheml yr Arglwydd, ymddangosodd yr angel Gabriel iddo, yn sefyll ar ei gyfer y tu dèhau i'r allor; a rhagfynegodd iddo am enedigaeth ei fab Ioan, gan arwyddo y byddai yn fawr yn ngolwg yr Arglwydd. Ganwyd Ioan yn ol gair yr angel, o fam a fuasai yn "anmhlantadwy," a phan oedd ei dad a'i fam "mewn gwth o oedran;" a bu llawenydd mawr yn mysg eu cydnabod am ei enedigaeth; oblegyd yr oeddynt yn credu y byddai yn ddyn o fawr ddefnyddioldeb.

2. Yr oedd nillduedd a hynodrwydd bywyd Ioan yn cryfhau dylanwad ei weinidogaeth. Bu yn Nazaread o'r groth: nid yfodd win na diod gadarn. Aeth allan i'r diffeithwch, i'r cymoedd a'r coedwigoedd, o olwg rhwysg y byd; aeth i swn y ffrydiau a'r rhaiadrau o swn dwndwr dynion, er cael tawelach cyfle a hamdden i ddal cymundeb â'r byd ysprydol, ac i baratoi ei feddwl a'i galon, drwy fyfyrdod a gweddi, at ei weinidogaeth uchel a phwysfawr. Ei ddillad, tra yn dilyn ei fyfyrdodau yn Athrofa y Llwyni, oedd o flew camel, a gwregys croen o gylch ei lwynau; a'i fwyd oedd locustiaid a mêl gwyllt. A phan ddaeth yr amser iddo "ymddangos i Israel," agorodd ei genadwri gyda symledd, ond gyda grym rhyfeddol; ac aeth yr holl wlad i'w bregeth ac i'w fedydd.

3. Yr oedd ei bregeth yn un bwysfawr anarferol; yn fwy pwysfawr nag yr un a draddodasid o'i blaen; sef fod goruchwyliaeth Moses i gael ei dileu er cael lle i deyrnas y Messiah. Ac yn

4. Yr oedd yn cyhoeddi ei bregeth mewn dull nodedig o

wresog a difrifol a hunanymwadol. Yr oedd yn cyffesu mai nid efe oedd y Crist; nad oedd ef ond "cenad" ag oedd wedi cael ei anfon o flaen ei wyneb, i arloesi y ffordd o'i flaen, i dystiolaethu am ei ras a'i oleuni, i gyfeirio sylw pawb ato, ac i anog a chymell pawb i wrando arno, ac ufuddhau i'w alwadau, a derbyn ei addysg, ac ymwthio i'w deyrnas i gael noddfa a bywyd rhag y llid a fydd.

Yr ydys yn awr yn pregethu teyrnas Dduw; ac y byddai yn ddymunol iawn pe gellid cymhell pawb i "ymwthio iddi."

I. Ymofynwn, Beth yw ymwthio i deyrnas Crist?

1. Ymdrechu deall ei hegwyddorion nefol a gogoneddus: Priodoliaethau ei Brenin, cyfansoddiad ei chyfreithiau, mawredd ei rhagorfreintiau, cyflawnder diderfyn ei thrysorau, ei chadernid disigl, parhad diddarfod ei gogoniant, a dedwyddwch didranc ei deiliaid. Y mae Teyrnas Crist, yn ei rheolau, a'i breintiau, a'i golud, a'i gogoniant, yn cael ei darlunio yn llawn ac yn eglur yn ei efengyl. Y mae genym ninau y cyfleusderau goreu i'w hastudio; a'r peth cyntaf i'w wneud wrth ymwthio i'w deyrnas, ydyw ymdrechu yn ddyfal i adnabod ei hamcan a'i hyspryd, ac i ddeall ei hegwyddorion. Os ydyw yn enwogrwydd ac yn gysur i ddyn ei fod yn gyfarwydd yn hanes ei wlad; ei fod wedi astudio ei chyfreithiau, ac yn deall cyfansoddiad ei llywodraeth; a'i fod yn medru adnabod ei hadnoddau a mwynhau ei rhagorfreintiau,—pa faint mwy pwysig ydyw i'r credadyn anfarwol astudio egwyddorion a hanes y deyrnas fawr, ag y mae yn ddeiliad o'i llywodraeth, ac yn etifedd o'i holl ragorfreintiau?

2. Yr ail beth i'w wneud wrth "ymwthio" i deyrnas Crist, ydyw penderfynu plygu i'w hawdurdod, ac ufuddhau i'w holl gyfreithiau, a chydffurfio â'i holl ordinhadau: a gwneuthur hyny o lŵyr-fryd calon, yn ddioedi ac yn gyflawn. Nid oes neb erioed wedi gallu ymwthio i mewn i'r mwynhad o'i breintiau tra yr oedd ei chyfreithiau dan eu traed. Ni chaiff neb byth afael yn ei goludoedd, a'i gorfoledd, a'i gogoniant tra yn esgeuluso ei hordinhadau. Y mae ei chyfreithiau oll yn un-

iawn ac yn dda, wedi cael eu trefnu a'u gosod gan berffaith ddoethineb er enw anfarwol i'w Brenin, ac er cysur diddarfod i'w deiliaid. A hawdd iawn idyw i ni wybod beth yw cyfreithiau teyrnas Iesu. Eu swm ydyw, caru Duw â'n holl galon, a dewis eu ffafr o flaen pob peth: parchu ei Fab, a phwyso yn ffyddiog ar ei Iawn anfeidrol: gwrando ar addysg ei Ysbryd, a phlygu i'w argyhoeddiadau: caru ein cyd-ddynion, a dymuno eu hiechydwriaeth: milwrio yn erbyn pechod yn mhob modd ac yn mhob man,—bob amser ac ar bob amgylchiad, a hiraethu a chyd-ymegnio am enill y byd i gyd oll i gariad a heddwch yr efengyl. Yr ydym ni yn myned i mewn i'r deyrnas, os ydym o'n calon yn caru ei chyfreithiau gogoneddus hyn, ac yn rhodio ynddynt. Y mae "ymwthio" i'r deyrnas yn cynwys yn

3. Meddwl uchel am ei breintiau, a hiraeth cynyddol am gael helaethach mwynhad o honynt, a sicrwydd o hawl iddynt am oes ddiddiwedd yn y byd a ddaw. Y mae breintiau ei deiliaid ffyddlawn yn rhai o werth anrhaethadwy. Y mae ganddynt rai o'r breintiau hyny yn eu gafael, a llawer mwy mewn gobaith yn ol addewid Duw: cael cymundeb â Duw y Cariad, a dyogelwch dan gysgod yr Hollalluog; cael brain yn mhren y bywyd, neu ditl i holl fendithion cyfryngdod Iesu: cael blâs maddeuant pechod drwy rinweddau gwaed yr Oen: cael syllu ar orsedd y nef mewn gogoniant tawel heb yr un cwmwl du, na rhuad unrhyw daran yn agos iddi; cael gweled cyfiawnder yn gwenu pan y mae trugaredd yn ymgeleddu yr enaid ar sail yr Iawn mawr; cael eu digioni â brasder tŷ Dduw, a'u diodi ag afon ei hyfrydwch; cael cysur ac addysg gweinidogaeth ac ordinhadau yr efengyl; cael cymdeithas y saint, a rhan yn eu cyngor, a'u gweddi, a'u dyddanwch; cael cymdeithas â gweinidogaeth angylion; cael lle yn eiriolaeth Iesu a than ymgeledd yr Ysbryd; a chael y gareg wen a'r enw newydd fel titl i'r etifeddiaeth fry. Ac am y breintiau sydd ganddynt mewn disgwyliad, nid ellir dirnad eu rhif, na'u maint, na'u gwerth; holl ryfeddodau bore gogoneddus yr adgyfodiad o'r bedd, cael cyfarfod dedwydd â holl dyrfa ddirif

cyfiawnion; cael eistedd mewn gwŷn a'r orseddfeinciau derchafiad y farn; cael myned i mewn drwy'r pyrth i'r ddinas, yn ngorymdaith fawr y gorchfygwyr; a chael cymdeithas ac addoliad gwlad well yr orphwysfa dragywyddol. Y mae yr hwn sydd yn "ymwthio i'r deyrnas" yn meddwl llawer am y breintiau hyn; y mae am gael blaenbrawf o honynt y tu yma i'r bedd; ac am gael ei hawl yn glir i gyflawn fwynhad o honynt yn y nefoedd.

II. Pa fodd yr ydym i ymwthio i deyrnas Crist?

1. Rhaid ymroi i ochel pob peth sydd o duedd i rwystro hyny. Rhaid llŵyr-ymwrthod yn benderfynol ac ar unwaith, â phob peth fydd yn ataliol i ni ymwthio tua'r nef, beth bynag fyddo. Y mae rhai yn hoff o sefydlu eu llygaid o hyd ar flodau, a rhosynau, a theganau amser, fel nad oes ganddynt hamdden i edrych i fynu tua'r nefoedd: nid all y cyfryw byth ymwthio i'r deyrnas. Y mae rhai yn ymlid o hyd ar ol rhyw ddifyrwch darfodedig: nid all y cyfryw ddim ymwthio i deyrnas Crist. Y mae rhai yn llwytho eu hunain â gofalon ac â thrafferthion y bywyd hwn; ac yn cymeryd eu plygu i lawr i'r ddaear gan bryder: nid all fod gan y cyfryw ddim calon nac amser i ymwthio i deyrnas Crist. Y mae rhai mor hoff o gyfeillach lygredig y rhai gwylltion anystyriol ag ydynt yn cefnu ar freintiau y deyrnas, ac yn rhedeg i lawr ar ffordd colledigaeth; ni fynant er dim droi oddiwrth y cyfeillion llawen hyny, er ymwthio yn ddifrifol am eu bywyd i deyrnas Crist: y mae pob lle i ofni mai gyda y rhai fydd allan o'r deyrnas" y bydd rhan y cyfryw. Y mae eraill mewn cenfigen, yn barnu yn gûl am y ffyddloniaid ymdrechgar sy'n ceisio ymwthio yn mlaen, fel na fynant ar un cyfrif fyned gyda hwy, ac felly y maent yn cloffi, ac yn aros ar ol; ac y maent yn debyg drwy hyny o golli y nefoedd. Y mae eraill yn ystyried y "llwybr cul" yn un mor esmwyth, ac mor hawdd ei gael, a'i gadw, a'i ddilyn, fel y gellir myned ar hyd-ddo pan y myner, heb ymwthio nac ymegnio dim: y mae y cyfryw yn debyg iawn o golli y gamp. Y mae eraill yn meddwl ei fod yn llwybr mor ddyrus, mor gul,

ac mor anhawdd ei gadw a'i rydio, fel mai ofer ydyw cyn hyny: ac wrth ddychymygu yn barhaus fod rhyw lew mawr ar bob rhan o'r ffordd, ni cheisiant gychwyn ymwthio tua'r bywyd. Byddai yn dda i bob un sy'n cymeryd ei rwystro, ymchwilio yn ddifrifol ar unwaith beth sydd yn ei rwystro; a dylai ymwrthod â'r peth hwnw yn benderfynol, ac ar unwaith ac am byth; oblegyd gwell colli pob peth na cholli'r deyrnas. Gan hyny rhoddwn heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, a thrwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni.

2. Dylem ddefnyddio yn ddiwyd ac yn ddiolchgar bob peth a fydd o gymorth i ni ymwthio i'r deyrnas. Os daw awel ryw gwr i chwythu tua'r nefoedd, pa un bynag ai o Eden, ai Gethsemane, o Sinai, ai o Galfaria y daw, lledwn ar unwaith ein hwyliau o'i blaen, ac ymwthiwn rhagom tua phorthladd y bywyd. Pan y byddwn yn gweled ein hen gyfeillion yn ymwthio yn mlaen yn gryf ac yn gyflym, yn fuddugoliaethus ac yn ddedwydd, cadwn ein llygaid arnynt, dilynwn ol eu traed, neu yn hytrach, ymwthiwn i'w canol, a gafaelwn yn nerth braich eu ffydd a'u gweddi, fel y gallom fyned yn mlaen gyda hwy. Pan y bydd rhai o'n cyfeillion ieuainc yn codi ac yn cychwyn ac yn ymwthio rhagddynt, ymwasgwn yn gynes atynt, a dywedwn wrthynt yn llawen—"Ni ddeuwn ninau gyda chwi." Pan y bydd difrifoldeb yn ein meddianu, neu pan y byddwn yn mwynhau hyfrydwch wrth chwilio'r Beibl yn ein myfyrgell, neu yn gweddio yn y dirgel, neu wrth allor y teulu, neu yn nghymdeithas y dosbarth yn yr ysgol Sul, neu mewn rhyw gyfeillach grefyddol, neu yn y cyfarfod gweddi, neu dan y bregeth, neu wrth fwrdd y cymundeb, magwn y teimlad hwnw a daw yn ddigon cryf i "ymwthio" drwy bob rhwystrau ar ol Iesu. Pan y bydd tad, neu fam, neu athraw, neu gyfaill, neu weinidog, neu unrhyw swyddog eglwysig, yn ein cymhell dros Grist i dynu tua'r nef, gwrandawn ar gyngor eu cariad, rhoddwn law iddynt, ac ymdrechwn fyned i mewn trwy'r porth cyfyng i'r bywyd, ac i'r mwynhad o freintiau y deyrnas.

3. Dylem barhau drwy ein hoes i "ymwthio" yn mlaen nes cyrhaedd tir y bywyd. Y mae rhai yn tybied, ac weithiau yn dweyd, eu bod wedi ymwthio i'r deyrnas ryw ugain, neu ddeugain, neu driugain mlynedd yn ol; ac nad oes dim angenrhaid iddynt hwy "ymwthio" yn awr. Y mae ganddynt hen adgofion am ryw ymwthio gorchestol a wnaethant dan hwyliau rhyw ddiwygiad mawr yn yr hen amser gynt; ac y maent yn barnu fod eu gwaith hwy wedi ei orphen; nad oes dim eisiau iddynt ymegnio felly byth mwy; eu bod hwy yn ddiogel yn y deyrnas er y pryd hyny, ac nad oes ganddynt ddim i'w wneyd yn awr ond gorphwys. Y mae weithiau yn anogaethol iawn i adgofio am adegau o adfywiadau ac o ymegniadau; ac i adgofio am hwyliau ac ymroadau dyfalbarhaol yr hen flaenoriaid ffyddlawn ag oeddynt yn ychwanegu cryfdwr o hyd, nes cael mynediad helaeth i mewn i borthladd gwynfyd; ac y mae yn fuddiol i feddwl am hyny, os bydd i'r adgofion ein cynhyrfu i fwy o ddiwydrwydd, ac o sêl, ac o ymdrech: ond os eir i son am yr hen awelon, heb weddio tua'r nef yn daer ac yn ffyddiog am danynt,—os eir i son o hyd am yr hen hwyliau gynt heb byth ymbaratoi i hwyl yn awr,—os eir i son am weddiau, a chyngorion, a diwydrwydd, a dagrau yr hen bobl, heb geisio magu eu hyspryd na dilyn eu ffordd, ni bydd hyny o ddim lles i ni: ac y mae y bobl ydynt yn son o hyd am eu hen brofiadau, a'u hen hwyliau, a'u hen ymroadau, a'u hen egniadau yn amser llafur a hwyliau eu tadau, ac yn pwyso ar hyny, yn eu twyllo eu hunain; y maent yn gwywo, ac yn crino, ac yn diffrwytho y tir trwy holl gylch eu dylanwad. Y maent yn ddieithr i gynaliaeth a gorfoledd bendithion y deyrnas: y mae lle i ofni eu bod allan o honi, a'u bod yn myned bellach, bellach oddiwrthi; ac y byddant allan o honi yn dragywydd, os na chant ryw yspryd newydd hollol wahanol i'r yspryd sydd ynddynt yn bresenol. Y mae eisiau i ni ymwthio yn mlaen o hyd, yn enwedig yn mhob cyflawniad crefyddol, yn mhob odfa, ac yn arbenig ar ddydd yr Arglwydd, yn ein holl fyfyrdodau, a'n gweddiau, a'n hymddiddanion, gan afaelyd am fwy,

fwy yn barhaus, fel y cynyddom mewn gwybodaeth, a sanct-
eiddrwydd, a defnyddioldeb, a chysur.

III. Paham y dylem ymwthio i deyrnas Crist?

1. Y mae ei breintiau yn rhai o werth eu meddu. Pe cy-
hoeddid yma heddyw fod gwlad i'w chael tu hwnt i'r afon, ne
tu draw i'r môr, lle nad oes dim angen na thlodi, na saldra na
gofid, na gorthrwm na siomedigaeth, na thymestloedd oer
nac awyr heintus, na gelyniaeth na rhyfel, na nychu na ller-
ygu, na marw na chladdu ; lle y gellir cael trigfan hardd, a
etifeddiaeth ffrwythlawn, a gwisgoedd gwynion, a choronau
dysglaer, a'r gwleddoedd llawnaf a'r caniadau mwynaf, a'r
gymdeithas anrhydeddusaf, byddai pawb am werthu i fyny
hyn sydd ganddynt yn ngwlad tes poeth y dydd, a rhew llym
y nos, yn ngwlad y llafur, a'r siomiant, a'r nychu, a'r marw
fyned i'r wlad ddedwydd hono i fyw. Y mae, tu hwnt i afon
yr Iorddonen, tu draw i for cul angau, wlad dda odiaeth, wlad
na welodd llygad erioed ei phrydferthach, wlad ag na chlyw-
odd clust am erioed ei ffrwythlonach, gwlad o etifeddiaeth deg
baradwysaidd anllygredig a dihalogedig, gwlad o drigfanau
lawer wedi eu trefnu a'u dodrefnu yn y dull goreu, gwlad
goronau anniflanedig, gwlad lle na bydd dyddiau blin na blyn-
yddoedd heb ddyddanwch, gwlad lle na bydd neb yn glaf na
neb yn marw, na dim galarwyr yn myned o bob tu yn yr heol,
gwlad lle na bydd cenfigen nac angharиad, na therfysg, na
rhyfel, gwlad lle ceir bod yn nghymdeithas y doethion, cariad-
lawn, pur, dedwydd, ac anfarwol, gwlad ag nad all calon dyn
yr ochr hyn, byth ddychymygu am faint ei llawnder a'i gogon-
iant. Y mae yn werth i ni ymwthio a'n holl egni i fyned i'r
wlad well hono ; yn enwedig gan y gellir cael blaenbrawf
freintiau a chysuron y wlad ar yr yrfa wrth ymwthio tu ag
yno.

2. Dylem "ymwthio" i'r deyrnas oblegyd y mae yr adeg
sydd genym i sicrhau i ni ein hunain y mwynhad o'i bendithion
yn fyr ac yn ansicr. Ni buasai y deng mlynedd a thrigain,
neu y pedwar ugain mlynedd, ddim yn ormod o dymor i

geisio teyrnas Dduw; ond nid oes genym sicrwydd am yr un Sabboth eto, nac am yr un diwrnod eto, nac am yr un awr eto; a phe byddai genym bob sicrwydd am amser dyfodol, ni chaem byth gyfle gwell na'r un presenol. Yn awr ydyw amser Duw, amser cyngor ei anfeidrol ddoethineb a'i gariad; gan hyny, "ymwthiwn" yn awr, heb oedi dim, a daliwn afael yn y bywyd tragywyddol.

3. Bydd yn alaethus ofnadwy os cauir ni allan o'r deyrnas yn y diwedd; os cauir ni allan ar ol cael y fath gymelliadau i ymwthio iddi. Ni bydd oddi allan iddi ond tlodi a thywyllwch, ac euogrwydd ac anobaith: a hyny yn mysg gelynion llawn o lid ac o lygredd, a thymestloedd dwyfol lid yn curo yn erbyn yr enaid gyda nerthoedd cynyddol, a hyny am byth bythoedd.

CYMHWYSIAD.

1. Pan yr ydym yn cael ein cymell yn y Beibl i ymwthio, ac ymdrechu, a milwrio, a llafurio, a rhedeg, nid ydym i gasglu fod gwaith Duw ynddo ei hun yn anhawdd, neu fod gyrfa y nef yn un galed. Na, y mae ffyrdd doethineb yn ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch. Y mae iau Iesu yn esmwyth, a'i faich yn ysgafn. Y mae yr holl anhawsderau yn codi o wendid a llygredd ein calon ein hunain, o'r tramgwyddiadau a'r profedigaethau sydd ar bob llaw i ni yn y byd, ac o'r llid mawr sydd gan alluoedd uffern yn erbyn holl oruchwyliaethau teyrnas nefoedd.

2. Gall fod rhai yn ein mysg yma heddyw yn diystyru breintiau teyrnas Iesu, ac yn "ymwthio" yn wallgofus tua cholledigaeth; yn ymwthio drwy bob peth, ac ar draws pob peth, ac yn gwthio, neu yn hudo eraill gyda hwy. Y mae pawb sydd yn cefnu ar deyrnas nef yn ymwthio i lawr tu ag uffern dân. Y mae yn llawn bryd i bob enaid anffyddiog ac euog i ystyried ei ffordd, a sefyll ar ei yrfa beryglus, a throi yn ol, ac ymwthio tua'r nef am ei fywyd.

3. Y mae modd i ni oll ymwthio i deyrnas Iesu. Mae'r

ffordd yn gwbl rydd, a'r porth yn agored o led y pen. Gall plant bychain ddyfod yn mlaen yn siriol, cânt bob calondid a addysg. Gall ieuenctyd bywiog a gwridog ymwthio yn mlaen; cânt bob croesaw a derbyniad. Gall pobl ganol oed ymwthio yn mlaen o'u trafferthon i afaelyd yn mreintiau teyrnas Crist a chânt lawer o esmwythdra ac o gysur; a gall yr hen bobl ymwroli i ymwthio yn mlaen, oblegyd y mae pen eu taith gerllaw, a phorth y gwynfyd yn eu hymyl.

4. Y mae ein testyn heddyw yn gosod pwys anrhaethadwy ar y swydd o "bregethu" teyrnas Crist: oblegyd pan yr oedd Ioan yn llawn sêl a chariad yn pregethu teyrnas Crist gyda phob difrifwch, yr oedd "pob dyn" yn ymwthio iddi. Yr oedd ei bregeth mor lawn o deimlad gwresog, fel yr oedd ei wrandawyr yn gorfod teimlo wrth ei wrando: ac yr oeddynt yn cario ei eiriau gyda hwy adref, ac yn eu hail-adrodd i'w plant, ac i'w ceraint, ac i'w cymydogion; ac yr oeddynt yn cario cymaint o yspryd Ioan gyda hwy, nes yr oedd yn gynwrf byw drwy yr holl wlad, ac yr oedd y dylanwad mor gryf fel yr oedd pob dyn mewn awyddfryd yn disgwyl am deyrnas y Messiah, ac fel pe buasai am ymwthio iddi. Yr oeddynt yn credu fod pregeth Ioan o Dduw, ac nid rhyfedd fod y fath ddylanwad yn ei dilyn. Dylid eto geisio "pregethu" teyrnas nefoedd yn y fath fodd fel y byddo pob gwrandawr am ymwthio iddi. Dylid ceisio dweyd am y "digofaint sydd ar ddyfod" mor gryf ac mor ddifrifol fel y byddo yr anghredadyn mewn dychryn yn ffoi rhagddo. Yr oedd Ioan wedi hir deimlo pwys ei bregeth, ac yr oedd yn rhoddi ei holl galon *ynddi*; a hyny mewn rhan oedd yn ei gwneud mor nerthol ac mor effeithiol. Byddai yn dda i ninau eto pe medrem gael mwy o yspryd Ioan i'r areithfa; a byddai yn dda hefyd pe medrid cael mwy o yspryd gwrandawyr Ioan yn ein cynulleidfaoedd; oblegyd yr oedd gwrandawyr Ioan yn llawn sêl a bywyd yn adrodd ei bregethau drwy holl gylchoedd eu dylanwad, ac fel canlyniad o hyny yr oedd yno lawer iawn o ymwthio i deyrnas nefoedd. Wrth ddarllen hanes yr eglwys drwy'r oesau aeth-

ant heibio, yr ydym yn cael mai y pregethwyr mwyaf myfyrgar, a llafurus, a selog, oeddynt y rhai mwyaf dylanwadol a defnyddiol. Rhai tra nodedig o ran eu hymroddiad i'w gwaith pwysfawr oeddynt Athanasius ac Awstin, a Basil a Chrysostom, a'r ddau Clement yn mysg tadau yr oesau cyntaf, a Wyckliff a Penry, ac Udal a Cartwright, a Knox a Calvin, a Luther a Melancthon, a Tillotson ac Usher, a Baxter a Bunyan, a'r ddau Henry, ac Owen a Howe, a Watts a Doddridge, a Massilon a Fenelon, a Wesley a Whitfield, a Witherspoon a Mather, ac Edwards a Dwight, ac eraill mewn adegau o ddiwygiad, a Vavasor Powell a Walter Cradoc, a Daniel Rowlands a Howell Harris, a Rhys Pritchard a Lewis Rees, a Thomas Charles a John Elias, a Robert Hall a J. A. James, a Bogue a Chalmers, a Jay a Raffles, a Daniel Wilson a Henry Martyn, a Newton a Bunting, a Spencer a Spurgeon ac ugeiniau eraill allasid enwi. Yr oeddynt yn gwahaniaethu o ran eu doniau, ond yr oeddynt yn selog a ffyddlawn yn eu gweinidogaeth, a choronwyd eu llafur â defnyddioldeb. Swydd o bwys annirnadwy ydyw "pregethu teyrnas Dduw;" oblegyd y mae yr ymwthio i'r deyrnas yn troi i raddau mawr ar eglurder a gwresogrwydd y pregethu. Ond na feddylier fod y cyfan i droi ar y pregethu; un o brif amcanion y pregethu llawnaf ac effeithiolaf ydyw cael y gwrandawyr i gyd-weithio, trwy ddefnyddio dylanwad eu doniau a'u bywydau i enill eneidiau at Grist.

---

## DEFFRO O GYSGU.

"Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw; a Christ a oleua i ti."—Eph. 5. 14.

Darlunir pechadur yn y Beibl fel "mab afradlon" wedi cefnu ar gartref llawn a myned i wlad o newyn; ond fod ei dad a'r

a'r teulu yn hiraethu am gael ei groesawu yn ol: fel un "blin-derog a llwythog" yn cael ei wahodd i'r un man lle y caiff orphwysdra i'w enaid: fel un yn ymbalfalu mewn tywyllwch yn cael ei alw i'r goleuni sydd yn ei ymyl: fel un tlawd heb ddim yn cael ei gyfarwyddo at un ag y mae pob cyfoeth ganddo i'w gyfranu; fel gwrthryfelwr yn erbyn ei lywydd yn cael ei gymell i blygu, a rhoddi ei arfau i lawr; ac yn adnod ein testun fel un yn cysgu, ac yn cael ei alw i ddeffro. Cynygiwn

I. Ddarluniad o nodweddau y cysgwr ysprydol.

1. Y mae yn ddiofn ac yn ddiofal yn nghanol y peryglon mwyaf. Y mae y llew rhuadwy uwch ei ben a'i lygad llidiog arno. Y mae seirff gwenwynig y pydew heb waelod yn ymddolenu o'i ddeutu, ac yn coglais ei fynwes â'u colynod, wedi barotoi i'w frathu. Y mae gelynion marwol yn sychedu am ei einioes, yn gylch o'i ddeutu. Y mae yn ymdroi ar fin cenlli bythol drueni. Y mae cwmwl y dymestl fawr ddiddarfod yn duo fwy-fwy uwch ei ben, ac ar ymdywallt; ond y mae ef yn gwbl ddibryder a digyffro yn nghanol ei holl beryglon.

2. Y mae yn ddifwynhad er yn ymyl y mwynderau goreu. Y mae golygfedd prydferth ac amrywiaethol maes mawr y Beibl yn ymagor ac yn ymledu o'i ddeutu ar bob llaw, ond nid yw yn eu gweled. Y mae gwleddoedd melysaf trugaredd yn hulio bwrdd mawr yr efengyl yn ei ymyl, ond nid yw yn profi eu blas, nac yn cael dim o'u maeth. Y mae y beroriaeth fwynaf, y beroriaeth ag sydd yn swyno saint ac angylion, yn chwareu drwy'r holl awyr o'i ddeutu, ond nid yw yn ei chlywed. Y mae yn nghyraedd cymdeithas anrhydeddus, ddedwydd, adeiladol, lawn o oleuni ac o gariad, ond ni wyr ddim am ei chysuron. Y mae yn cysgu fel un marw yn nghanol y cyfan.

3. Nid yw yn gwneud dim daioni, er ei bod yn adeg hyfryd i weithio. Nid yw yn llafurio dim er ei les ei hun nac er lles eraill. Nid yw yn adeiladu ei dŷ, nac yn cadw ei winllan, nac yn hau ei faes, nac yn casglu ei gynauaf, nac yn rhedeg ei yrfa, nac yn dysgu ei wers, nac yn trysori erbyn yr amser a ddaw, nac yn parotoi erbyn sefyllfa dyfodol. Y mae yn cysgu ei amser heibio.

4. Y mae yn breuddwydio ei fod yn cael mwynhad, yn breuddwydio ei fod yn ddiogel pan y mae mewn perygl, ei fod yn rhydd pan y mae mewn caethiwed, ei fod yn nghanol llawnder pan y mae heb ddim. Y mae yn breuddwydio ei fod yn gweithio yn ei le ar faes llydan, a'i fod ar ol hyny yn gwledda wrth fwrdd llawn, a'i fod i gael cyflog mawr yn niwedd y dydd, a bod ganddo ditl i etifeddiaeth deg mewn gwlad well: ond nid yw ei ddychymygion oll, ond breuddwydion calon ddiog yn cysgu fel y marw, a diflanant mewn siomedigaeth alaethus.

II. Yr alwad ddifrifol rybuddiol sydd yma arno i "ddeffro" —Deffro yn

1. Y mae yn ddydd teg, goleu, tawel; yn ddydd ag sydd yn gwenu yn hyfryd ar y diwyd.

2. "Deffro," y mae genyt waith pwysig i'w gyflawni, gwaith o'r enill a'r anrhydedd mwyaf.

3. "Deffro," y mae braidd pob peth o'th ddeutu yn effro ac yn gweithio: elfenau natur, rhagluniaethau'r nefoedd, tymorau amser, galluoedd uffern, hudoliaethau'r byd, angylion y nef, y Tad o'i orsedd yn trugarhau, y Mab yn ei lŷs yn eiriol, yr Yspryd yn ei swydd yn argyhoeddi a dyddanu.

5. "Deffro," bydd yn arswydol i ddeffro dan wasgfeuon awr marwolaeth, pan y bydd yn rhy ddiweddar i barotoi erbyn barn a thragywyddoldeb. Y mae darluniadau y Beibl o frys a dychryn ac anobaith enaid yn deffro pan y bydd wedi myned yn rhy ddiweddar yn hynod o gyffrous ac effeithiol. Ceir rhai o honynt yn Diar. 5. 11, 12, 13; Jer. 8. 20; Mat. 25. 8; Luc 16. 24; Dat. 6. 16, 17.

III. Y fendith werthfawr a addawir i'r hwn a ddeffry, ac a gyfyd at ei waith, yn ol yr alwad: "Crist a oleua i ti."

1. Pwy a oleua iddo? Crist y ffynon o bob goleuni—goleuni yr efengyl—goleuni y nefoedd.

2. Pa fodd y goleua i ti? Mewn gwahanol ffyrdd effeithiol, adfywiol a hyfryd: drwy athrawiaethau ei air, ac ordinhadau ei dŷ, a threfniadau ei Ragluniaeth, a chymdeithas ei saint, a gweinidogaeth ei angylion a dylanwadau ei Yspryd.

3. Pa bryd y rhydd oleuni i'r enaid? Pan y bydd ar lwybr dyledswydd yn dilyn ordinhadau crefydd, ac yn enwedig pan y bydd yn drallodedig mewn unrhyw ddyrysweh neu gyfyng-gyngor, pan yn isel ar wely cystudd, pan yn nglyn cysgod angau, pan yn codi o'r beddrod yn nghanol cynhwrf rhyfedd y dydd diweddaf, pan byth fry yn y nef o flaen yr orseddfainc

CYMHWYSIAD.

Pa hwyaf y cysga pechadur, anoddaf oll fydd ei ddeffro i ei ddyledswydd.

Pa fwyaf deffro fydd y credadyn, mwyaf oll gaiff o oleuni ac o gysur.

Ni bydd na chysgadrwydd na thywyllwch yn y nefoedd, ar ol gadael byd y profedigaethau a'r gorthrymderau.

---

# "GWIR YW'R GAIR."

"Gwir yw'r gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid; o ba rai y penaf ydwyf fi."—1 Timotheus 1. 15.

Dyma'r "gair" rhyfeddaf, pwysicaf, melysaf, a llawnaf obaith ac o gysur a seiniodd erioed yn nghlustiau marwolion. Dyma'r gair pereiddiaf yn nghaniadau telynorion y nefoedd. Dyma'r gair a adseinir gryfaf, ac egluraf, a mwynaf gan fryniau tragywyddol. Dyma'r gair llawnaf o ryfeddodau astudiwyd erioed gan dduwinyddion hynaf athrofa gogoniant. Dyma'r gair pwysicaf a ddaeth erioed o orsedd anfeidrol gariad. Dyma'r gair am fywyd pechadur, ac y mae wedi bod yn gysur anrhaethol i fyrddiynau ar fyrddiynau o bechaduriaid pan dan argyhoeddiad mewn dychryn wrth odrau Sinai, pan

dan groesau a thrallodion o bob natur, pan yn wyneb y profedigaethau mwyaf tanllyd, pan bron llwfrhau ar faes y frwydr, pan yn fusgrell a digalon ar lwybr dyledswydd, pan mewn poen ar wely cystudd, a phan yn rhodio'r glyn yn awr marwolaeth. Ystyriwn am funud yn

I. Gynwysiad y "gair," neu y dystiolaeth hon. Y mae yn cynwys yn

1. Fod "Crist Iesu" yn Waredwr dwyfol. Y mae hyny yn cael ei dybied yn ystyr geiriau ei enw, "Crist, Iesu." Arwydda yr enw Iesu ei fod yn Waredwr; a'r enw Crist, ei fod yn Eneiniog y nef; y mae felly yn un wedi ei ddewis i fod yn Waredwr, wedi ei eneinio i fod yn Gyfryngwr, wedi ei alw a'i neillduo i lenwi ei holl swyddau cyfryngol fel Proffwyd, Offeirtad a Brenin; felly yr ystyr ydyw fod "Crist Iesu" wedi ei alw, a'i gymwyso, a'i anfon i fod yn Waredwr holl-ddigonol. Y mae yn Waredwr eneiniedig, anfonedig, awdurdodedig, ac y mae yn meddu pob cymhwysder at bob rhan o'i waith grasol a gogoneddus.

2. Fod "Crist Iesu," y Gwaredwr eneiniedig hwn, "wedi dyfod i'r byd." Yr oedd mewn bod cyn iddo ddyfod i'r byd. Yr oedd gyda Duw, ac yn ogyfuwch â Duw, cyn iddo ymgnawdoli. Yr oedd yn preswylio tragywyddoldeb cyn iddo ddyfod i babellu yn mysg dynion. Yr oedd yn gyfoethog cyn iddo ddyfod yn dylawd. Yr oedd yn teyrnasu ar ddeheulaw y Tad, cyn iddo gymeryd agwedd gwas a dyfod i lawr i barthau isaf y ddaear. Yr oedd yn Dduw cyn iddo ddyfod yn ddyn. Yr oedd dyfod i'r byd yn rhan hanfodol o'i gynllun cyfryngol. Yr oedd yn rhan bwysfawr o'i swydd fel Gwaredwr. Yr oedd wedi bwriadu dyfod. Yr oedd wedi cyfammodi dyfod. Yr oedd wedi selio ac wedi cyhoeddi ei fwriad i ddyfod. Yr oedd yn llawenychu wrth feddwl am ddyfod, a daeth yn nghyflawnder yr amser, daeth o'i fodd, yn y dull amcanedig, yn ol y rhag-derfynedig gyngor, a'r rhag-ordeiniedig gynllun.

3. I Grist Iesu ddyfod i'r byd i "gadw." Nid i golli ond i "gadw," nid i ladd ond i fywhau, nid i ddamnio ond i gyfiawn-

hau, nid i ddistrywio ond i achub, nid i glwyfo ond i feddy-
iaethu, nid i dylodi ond i gyfoethogi, nid i daflu i lawr ond
godi i fyny, nid i halogi ond i sancteiddio, nid i gadwyno
ond i ryddhau myrddiynau. Daeth i'r byd nid i gasglu cr-
wl du y dymestl uwchben ei breswylwyr, ond i'w wasgar.
nid i dreiglo taranau llidiogrwydd yn erbyn y troseddwr,
i'w tawelu : nid i saethu mellt digofaint yn erbyn yr euog,
i'w diffoddi ; nid i groni diluw llid i ysgubo ymaith y rhai
wir, ond i drefnu iddynt arch o ddiogelwch ; nid i ddadw-
cleddyf cyfiawnder i daro y gwrthryfelwr, ond i droi y cled-
draw, ac i dderbyn yr ergyd yn lle yr euog. Daeth i'r by-
gadw y colledig, i godi y syrthiedig, i gyfoethogi y tlawd,
i faddeu i'r troseddwr. Daeth i'r byd i agor ffordd y ca-
drwy rinweddau ei un aberth mawr ei hun. Daeth i'r by-
osod sylfaen safadwy i holl drefn y cadw yn ei Iawn anfeid-
Daeth i'r byd i ddatguddio ac esbonio trefn y cadw drwy
weinidogaeth ffyddlawn, oleu, gariadlawn. Daeth i'r byd i g-
hoeddi gydag awdurdod fod Duw yn ewyllysgar i gadw yn
drefn ogoneddus. Daeth i'r byd i sefydlu yn y byd gyfundr-
o foddion moesol er dwyn eneidiau i afael trefn y cadw
Daeth i'r byd er cael cyfle cyfreithlawn, a ffordd rydd i dder-
byn yr edifeiriol i fynwes ei drugaredd, ac i lawn fwynhad
iachawdwriaeth.

4. Daeth i'r byd i gadw "pechaduriaid." Daeth i alw ni
rhai "cyfiawn," ond pechaduriaid i edifeirwch. Daeth i gy-
modi "gelynion" â Duw. Daeth i gyfoethogi rhai heb ddim
ac heb haeddu dim. Daeth yn Feddyg mawr, nid at yr iach
ond i ymgeleddu y cleifion. Daeth i geisio ac i gadw y rhai
oeddynt wedi syrthio i'r cyflwr gwaethaf—rhai annheilwng
anniolchgar, anystyriol, anedifeiriol, calon-galed, halogedig
pell, a gwrthryfelgar.

5. Daeth i'r byd i gadw pechaduriaid, a hyny yn unig o
ras a'i dosturi. Oblegyd wrth ddyfod i'r byd felly, disgyn
lawr yr oedd, ac nid esgyn i fyny ; dyfod o urddas i ddirmyg
o ogoniant i warth, o gyfoeth i dlodi, o orphwysdra i'r llafur

o wisgo'r goron i gario'r groes, o diroedd bywyd anfarwol i roddi ei einioes yn aberth dros bechod. Nid oedd dim rhwymau arno i ddyfod, ond daeth yn wirfoddol, nid oedd cyfiawnder ddim yn ei orfodi i ddyfod, rhaid felly nad oedd dim ond ei dosturiaethau ei hun, a'i hunan-gynhyrfiol gariad yn ei gymell i ddyfod.

II. Gwirionedd y gair hwn. "Gwir yw'r gair." Gellir profi hyny

1. Oddiwrth gyhoeddiadau grasol y Tad a'r Yspryd. Hysbysodd yr Arglwydd, drwy ei Yspryd, lawer gwaith i'r hen broffwydi enwog gynt, fod had y wraig i ddyfod i ysigo pen y sarff; fod y Proffwyd mawr i gyfodi, a bod rhwymau ar bawb i wrando arno; fod y Siloh i ddyfod, ac y byddai cynulliad pobloedd ato; fod Bachgen i gael ei eni a Mab i gael ei roddi, ac y byddai y llywodraeth ar ei ysgwydd ef; mai teyrnwialen uniondeb fyddai teyrnwialen ei deyrnas; ac na byddai diwedd ar helaethrwydd ei lywodraeth a'i dangnefedd, y byddai i Arglwydd Dafydd ddyfod o lwynau Dafydd; ac y byddai i'r Messiah ymddangos, a dyfod i'w deml, a chael ei ladd, ond nid o'i achos ei hun. Darluniwyd ei swydd a'i gymeriad mor lawn ac mor eglur i'r hen dduwiolion gynt, fel yr oedd eu ffydd yn gallu pwyso yn dawel ar yr addewidion am dano am eu hiachawdwriaeth dragywyddol. A phan yr ymddangosodd yn y byd, yn ol y rhaghysbysiadau am dano, daeth llef o'r nef oddiwrth y mawr-ragorol Ogoniant, i gyhoeddi "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd, gwrandewch arno ef."

2. Oddiwrth dystiolaethau pendant angylion. Gallwn feddwl fod yr angylion ag ydynt mor bur eu natur, mor graff eu golygon, mor gyflym eu meddyliau, ac mor gryfion eu holl alluoedd; ac ydynt hefyd wedi cael y fath fanteision lliosog, yn eu sefyllfa uchel, am dymor mor hir, wedi astudio hanes cyfryngdod Iesu, a'u bod yn adnabod ei gymeriad; ac y mae y rhai penaf o honynt wedi tystiolaethu yn eglur ac yn bendant am dano fel Gwaredwr. Ymddangosodd yr angel Gabriel i Mair ac i Joseph i rag-hysbysu am ei enedigaeth, a gor-

chymynodd iddynt alw ei enw Iesu, oblegyd ei fod i wared ei bobl oddiwrth eu pechodau. A phan anwyd ef yn Bethlehem Judah, "yr oedd yn y wlad hono fugeiliaid, yn aros yn y maes, ac yn gwylied eu praidd liw nos: ac wele, angel yr Arglwydd, a safodd gerllaw iddynt, a gogoniant yr Arglwydd a ddysgleiriodd o'u hamgylch, ac ofni yn ddirfawr a wnaethant. A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch, canys, wele, yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd." Nid oedd modd i'r un dystiolaeth fod yn fwy eglur. "Ac yn ddisymwth yr oedd gyda'r angel liaws o lu nefol, yn moliannu Duw, ac yn dywedyd gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Cafwyd tystiolaethau ar c... hyn o eneuau angylion am wirionedd y gair fod Crist Iesu wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid. Ceir prawf o'r un gwirionedd yn

3. Oddiwrth dystiolaethau y saint ar y ddaear ac yn y nefoedd. Y mae y saint oll o bob oed a gradd, o bob profiad a sefyllfa, o bob oes ac o bob gwlad wedi selio mewn llawer ffordd ac ar bob rhyw amgylchiad, mai gwir yw'r gair ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid. Weithiau byddai yr hen broffwydi enwog gynt yn dweyd yn ardderchog iawn am ei gymeriad ac am ei weinidogaeth, am ei ddyoddefaint ac am ei dderchafiad. Bryd arall byddai yr apostolion ac eraill a oeddynt wedi cael mwynhau breintiau ei weinidogaeth bersonol, y rhai oeddynt wedi cael clywed ei eiriau, a gweled ei wyneb a'i wyrthiau, ac wedi bod yn dystion o ryfeddodau ei farwolaeth, a'i adgyfodiad, a'i esgyniad, yn cyffesu ei enw yn y man cynesaf, gan bwyso ar ei Iawn, ac ymffrostio ac ymorfoleddu yn ei groes. Bryd arall byddai ardderchog lu y merthyron yn anialdiroedd eu halltudiaeth, ac yn nhywyll-gelloedd eu carcharau, a than y ceryg a'r gwialenodau, ac yn nghanol y fflamau yn canmol ei dosturiaethau, ac yn gorfoleddu yn ei iachawdwriaeth. Bryd arall byddai y pechadur mawr a'r bechadur-

fawr yn ymdreiglo at ei draed, ac yn eu golchi â'u dagrau, gan ryfeddu a mawrygu ei faddeuol drugaredd. Bryd arall byddai y credadyn bloesg yn nghanol llewygfeydd ei gystudd ar wely angau, yn tawel wenu, ac yn curo ei ddwylaw gweiniaid, gan orfoleddu yn ei iachawdwriaeth; a chanu yn llif yr afon, ei fod yn ddiogel yn llaw ei Archoffeiriad. Ac y mae yr holl saint ydynt wedi myned adref o wlad y cystudd, yn dorf ddirif, yn canu y ganiad newydd, gan ddywedyd, Teilwng wyt ti i gymeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef; oblegyd ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed, allan o bob llwyth ac iaith, a phobl, a chenedl: ac a'n gwnaethost ni i'n Duw ni yn freninoedd ac yn offeiriaid, ac ni a deyrnaswn ar y ddaear. A chlywir llais angylion lawer o gylch yr orseddfainc, a'u rhifedi yn fyrddiynau o fyrddiynau a miloedd o filoedd, yn dywedyd â llef uchel, Teilwng yw yr Oen yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith. Ac y mae eu cân yn myned uwch uwch, ac i fyned gynesach gynesach, yn oes oesoedd.

4. Profir mai gwir yw'r gair ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid, oddiwrth gyfaddefiadau anffyddwyr, gelynion ei groes. Y mae yn alarus i feddwl fod miloedd lawer o blant dynion, yn eu hanystyriaeth a'u hynfydrwydd, wedi dibrisio a gwrthod y gair am Grist a'i iachawdwriaeth, ac wedi barnu yn aflan waed y cyfammod a difenwi ei Yspryd; ond dichon nad aeth yr un o'r cyfryw drwy ei yrfa, o'r dechreu i'r diwedd, heb deimlo aethau o ing ofnadwy yn ei gydwybod oblegyd hyny; ac nad aeth nemawr o honynt i fyd arall heb gyffesu eu bod wedi eu handwyo eu hunain drwy wrthod y Crist Iesu a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid: eu bod wedi gwrthod eu bywyd drwy ail-groeshoelio Arglwydd y bywyd; eu bod wedi colli eu henaid drwy wrthod Iawn y cymmod; prin yr aeth neb o honynt drwodd i fyd arall heb ddweyd, neu ochain, yn ngwasgfeuon eu hanobaith, pan yr oedd yn rhy ddiweddar, "Arglwydd, Arglwydd, agor i ni," neu "Pechais gan

fradychu gwaed gwirion," neu "Pa fodd y caseais i addysg, ac y dirmygodd fy nghalon gerydd," neu "Fe a'm poenir yn y fflam hon," neu "Fynyddoedd syrthiwch arnom, greigiau cuddiwch ni o wydd yr Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac oddiwrth lid yr Oen."

5. Profir mai gwir yw'r gair ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid, oddiwrth holl berffaith gysondeb ffydd yr efengyl. Sylfaen a sylwedd holl athrawiaethau a holl ordinhadau yr efengyl ydyw y gair gwerthfawr fod Crist wedi dyfod i'r byd i gadw. Os tynir y gair hwn o'r efengyl, ni bydd yn werth dim, ac os nad yw y gair hwn yn wir, nid oes dim gwir yn yr efengyl, nid yw ond dammeg o ddyfais twyll a chyfrwysdra; ofer yw y bregeth, ac ofer hefyd yw y ffydd, ac ofer yw holl ymffrost a holl orfoledd y credadyn. Ofer oeddynt y proffwydoliaethau am Grist, a'r cysgodau fu'n ei rag-ddangos; ofer son am ei ymrwymiadau yn y cyngor hedd, ac am ei weinidogaeth pan yma yn y byd; ofer son am ei gyfryngdod a'i iawn, am ei esgyniad i ogoniant, a'i ail-ddyfodiad i farnu'r byd. Ond gwir yw'r gair am dano: y mae y Tad a'r Ysbryd, a'r angylion a'r saint, a gwasgfeuon anffyddwyr, a buddugoliaethau yr efengyl, yn cyd-dystiolaethu fod Crist Iesu wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid.

III. Teilyngdod y gair hwn i gael pob derbyniad.

1. Y mae'n deilwng o dderbyniad pawb. Yr hen a'r ieuanc, yr uchel a'r isel, y dysgedig a'r annysgedig. Y mae yn haeddu sylw a derbyniad nid yn unig y tylodion isel, ond y mawrion penaf, breninoedd ar eu gorseddau a than eu coronau, a phrif weinidogion a phrif farnwyr eu llysoedd uchaf, y llywyddion a'u cyngorwyr yn mhob Tŷ Gwyn, a maes-lywyddion enwocaf yn oriau ac addurn eu buddugoliaeth, y cyfoethogion mwyaf pendefigaidd yn eu palasau a'u hariandai, y marsiandwyr a'r celfyddydwyr penaf; oblegyd bydd raid iddynt oll yn fuan fuan adael ar ol eu rhwysg a'u golud, a symud dichon yn sydyn i fyd arall, heb ddim o fawredd y byd yma yn eu gafael. Mae'r gair hwn yn haeddu derbyniad pawb.

2. Mae'n haeddu derbyniad goreu pawb. Derbyniad cynesaf a siriolaf y galon : sef derbyniad llawen, diolchgar, cyflawn a dioedi. Derbyn y gair yn awr, ar unwaith, fel y mae, yn ei lawn ystyr, ac yn ei holl lawnder, yn ei burdeb a'i felysder, a'i ogoniant, heb ddymuno ychwanegu ato na thynu oddiwrtho.

3. Y mae yn haeddu pob derbyniad felly, am ei fod yn berffaith addas at sefyllfa a chyflwr pechadur, at ei amgyffred a'i angen. Nid oes eisiau ei eglurach na'i gyfaddasach. Y mae yn bob peth ag sydd arnom eisiau. Ei wrthod fyddai gwrthod bywyd tragywyddol, gwrthod iachawdwriaeth gyflawn o bob goludoedd, a gwrthod nefoedd lawn o orfoledd a gogoniant diddarfod, a dewis colledigaeth dragywyddol : ond ei dderbyn ydyw cael bywyd, a mwy na bywyd.

IV. Yr effaith y mae derbyn y gair hwn yn sicr o gael ar deimlad y derbynydd. Y mae yn ei ddwyn ar unwaith i deimlad dedwydd Paul, pan y dywedodd eiriau olaf ein testyn, "O ba rai y penaf ydwyf fi" Y mae derbyn y gair yma yn dwyn y derbynydd i gydnabod ei fod yn bechadur, yn bechadur mawr, wedi ei andwyo ei hun, ac heb obaith ynddo ei hun am waredigaeth. Y mae yn galaru oblegyd ei bechod, ac yn penderfynu ei adael. Y mae yn rhyfeddu, gyda chalon ddiolchgar, fod trefn mor ogoneddus ac mor gyfoethog wedi ei chael er ei "gadw." Y mae yn mawrygu y gras a'r doethineb a ddarparodd y fath drefn. Y mae y drefn, yn ei holl ranau yn hollol wrth ei fodd. Y mae ei holl obaith, a'i holl ymddiried, a'i holl ddymuniad ynddi ; ac y mae yn teimlo yn ddedwydd wrth gydymffurfio â'i hegwyddorion, ac wrth gymell ei bendithion i'w gyd-anfarwolion.

### CYMHWYSIAD.

Y mae yn achos o syndod a galar fod miliynau digyfrif o'n cyd-ddynion heb glywed erioed eto y gair gogoneddus am ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid.

Y mae hefyd yn achos o syndod ac o alar fod miliynau ag

ydynt wedi clywed y dystiolaeth lawer canwaith hyd yma yn rhyfygu ei gwrthod.

Y mae yn achos o syndod a galar hefyd na byddai y rhai sydd wedi derbyn y dystiolaeth yn gwneud mwy dros yr Hwn a ddaeth i'r byd i'w cadw. Y mae yn drwm fod eu ffydd mor wan, fod eu cariad mor oer, fod eu sêl mor glauar, fod eu llafur mor gloff, a'u ffyddlondeb mor fylchog, a'u bod mor farwaidd ac mor fusgrell yn ngwasanaeth yr Hwn a fu farw er mwyn iddynt hwy gael byw.

Y mae, er hyny, yn gysurlawn i feddwl nad all y gair am ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid ddim marw—fod ei wirionedd yn dyfod yn fwy-fwy eglur o hyd, fod pob ordinhad grefyddol, a holl droion rhagluniaeth, a holl fuddugoliaethau efengyl yn cryfhau ei wirionedd. Fod nerth y tystiolaethau o'i du yn chwyddo fwy-fwy, fel y mae llif amser yn treiglo yn mlaen: ac na bydd dim anffyddiaeth yn ei gylch yn nydd mawr y farn, nac yn yr un o'r ddwy wlad yn y byd a ddaw. Bydd anobaith y colledigion a chaniadau y gwaredigion yn profi am byth fod Crist Iesu wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid.

---

## GWERTHU YR ENEDIGAETH-FRAINT.

---

"Gan edrych yn ddyfal * * * * Na bo un puteiniwr neu halogedig, megys Esau, yr hwn am un saig o fwyd a werthodd ei enedigaeth fraint. Canys chwi a wyddoch ddarfod wedi hyny hefyd ei wrthod ef, pan oedd efe yn ewyllysio etifeddu y fendith; oblegyd ni chafodd efe le i edifeirwch, er iddo trwy ddagrau ei thaergeisio hi."—Heb. 12. 16, 17.

---

Yr oedd Esau yn fab i Isaac a Rebecca, yn ŵyr i Abraham a Sarah, ac yn frawd i Jacob. Bu ei rieni ugain mlynedd heb

blant. Rhoddwyd plant iddynt mewn atebiad i weddi. Pan feichiogodd Rebecca, ymwthiodd y plant â'u gilydd yn ei chroth hi. Achosodd hyny iddi bryder ac ofnau, ac aeth yn union i ymofyn â'r Arglwydd. Amlygodd yr Arglwydd iddi, drwy ei Oracl, fod dwy genedl yn ei bru, ac y byddai y naill bobl yn gryfach na'r llall, ac mai yr hynaf a wasanaethai yr ieuangaf: ac yn ol y broffwydoliaeth, daeth Rebecca i fod yn fam i ddau fath bobl. Ganwyd iddi efeilliaid, dau fachgen gobeithiol, a'r llanciau a gynyddasant yn gyflym. Yr oedd Jacob, yr ieuangaf, yn wr "dysyml," yn ddyn dystaw, difalch, diaddurn, dirodres, a dirwysg: yn hoffi cyfaneddu mewn pebyll, heb yspryd ganddo i wario ei amser gwerthfawr i wagrodiana oddeutu heb unrhyw neges, neu i ymyryd â gofalon ei gymydogion; ond yr oedd yn hoffi "pabellu" gartref. Yr oedd yn hoffi codi ei babell-fugail fechan, mewn lle sych, iach, cysgodol, os gallai allan o gyrhaedd tes haul y dydd, ac awel oer y nos, ac yr oedd yn hoffi aros ynddi i fyfyrio a gweddio, tra y byddai y praidd o'i ddeutu yn pori, neu yn gorphwys. Yr oedd yn hoffi pabell y gymdeithas deuluaidd, i glywed ymddiddanion, a chyngorion, a gweddiau ei rieni. Yr oedd yn hoffi y babell fechan oedd ganddo o olwg pawb, yn nghanol y llwyni, at ei weddi ddirgel. Ac yr oedd yn hoffi y babell fwy lle y byddai ei rieni a'u teulu a'u cymydogion yn cyfarfod i addoli yn gymdeithasol.

Yr oedd ei frawd, Esau, yr hynaf, yn un o yspryd gwahanol, yn un gwylltach ei feddwl a'i edrychiad. Yr oedd yn hoff iawn o rodiana a marchogaeth oddeutu, a daeth i fod yn heliwr cryf a bywiog. Yr oedd yn un craffus i adnabod llwybrau ei helwriaeth, ac yn un cyfrwys i osod ei faglau, ac i ledu ei rwydau, a chyflym i anelu ei saeth, er dal ei helwriaeth. Yr oedd ganddo chwaeth hefyd am goginio ei helwriaeth, a byddai yn hoff iawn o wledd fras ddanteithiol ar ol ei ludded wrth hela. Yr oedd yn llawer gwell ganddo ddifyrwch y maes, na gwasanaeth a myfyrdodau y babell.

Crybwyllir yn ein testyn am un o brif gyfeiliornadau, neu

bechodau ei oes, sef ei waith yn gwerthu ei enedigaeth-fraint, neu ei hawliau fel cyntaf-anedig y teulu i fod yn offeiriad ac yn broffwyd ac yn frenin yn y teulu. Ceir yr hanes yn niwedd y bumed benod ar hugain yn Genesis, yn y geiriau canlynol:

"A Jacob a ferwodd gawl: yna Esau a ddaeth o'r maes, ac efe yn ddiffygiol. A dywedodd Esau wrth Jacob, Gâd i mi yfed, atolwg, o'r cawl coch yma; o herwydd diffygiol wyf fi: am hyny y galwyd ei enw ef Edom. A dywedodd Jacob, Gwerth di heddyw i mi dy enedigaeth-fraint. A dywedodd Esau, Wele fi yn myned i farw, a pha les a wna yr enedigaeth-fraint hon i mi! A dywedodd Jacob, Twng i mi heddyw. Ac efe a dyngodd iddo; ac efe a werthodd ei enedigaeth-fraint i Jacob. A Jacob a roddes i Esau fara a chawl ffacbys; ac efe a fwytaodd, ac a yfodd, ac a gododd, ac a aeth ymaith: felly y diystyrodd Esau ei enedigaeth-fraint."

Yr oedd wedi bod allan yn hela, a dichon wedi bod y tro hwnw yn aflwyddianus. Daeth adref yn lluddedig a newynog, ac yn ei flys a'i frys, a'i anffyddiaeth, a'i ddiystyrwch cellweirus o bethau crefydd, gwnaeth y cytundeb ynfyd a fu yn warth ac yn golled ac yn ofid iddo dros ei holl oes. Gwerthodd y fraint uchaf ar a feddai, y fraint fwyaf ag a allasai byth gael, a hyny am un saig o fwyd, gan ddibrisio ei fraint ar air yn gystal ag mewn gweithred, a seliodd ei air a'i weithred drwy lŵ, fel nad allai alw yn ol ei gytundeb rhyfygus. Yr oedd ei galon yn ddiystyr o'i freintiau crefyddol fel cyntaf-anedig y teulu er ys hir amser, ac yr oedd wedi hir arfer eu hesgeuluso yn amserau addoliad y teulu. Arwydda Paul ei fod yn hoff o gyfeillachau "halogedig," a'i fod yn dilyn gloddest ac anlladrwydd: ac yr oedd yn anog ei frodyr credinol yr Hebreaid i "edrych yn ddyfal" rhag bod yn eu mysg yr un "puteiniwr neu halogedig megys Esau," yn llygru ac yn gwaradwyddo eu cymdeithas. Sylwn oddiwrth ei gyngor yn

I. Fod dynion eto mewn profedigaethau mynych i ddiystyru breintiau crefydd, ac i werthu ei bendithion gwerthfawr am fwynderau siomedig a darfodedig pechod. Gellir profi hyny yn

1. Oddiwrth y darluniadau ysprydoledig sydd genym o lygredd a thywyllwch a rhyfyg calon dyn. Y mae yr un anian yn nghalon pob dyn wrth natur ag oedd yn nghalon Esau. Y mae yn well ganddi edrych ar y pethau a welir nag ar y pethau ni welir. Y mae yn hoffach o roddi ei bryd ar ddifyrwch munud awr, nag ar gysuron diball a diddarfod duwioldeb. Y Y mae yn well ganddi roddi ei serch ar bethau'r ddaear nag ar bethau'r nefoedd, ar bethau siomedig a diflanedig y bywyd hwn nag ar fendithion drudfawr bywyd tragywyddol.

2. Oddiwrth y profedigaethau sy'n cylchynu y galon ar bob llaw yn y byd drwg presenol. Y mae angylion syrthiedig yn llawn dichell, ac yn myned o amgylch yn barhaus, gan arfer eu holl gyfrwysdra i demtio, a hudo, a thwyllo dynion i werthu breintiau crefydd am gau-fwynderau pechod. Y mae y byd yn ymwthio yn mlaen yn barhaus rhwng y galon a phethau crefydd, gan wisgo gwên deg, a dywedyd geiriau teg, gan ddangos ei deganau, a'i flodau, a'i seigiau, a'i "drysorau," a'i ddifyrwch, er cadw serchiadau y galon oddiwrth bethau'r nefoedd. Ac y mae cymdeithion cellweirus ac annuwiol wrth gefnu a'r freintiau yr efengyl a'u gwerthu a'u gwrthod, yn arfer eu doniau a'u dylanwad er denu eraill i ddilyn eu ffordd a'u cyfeillach.

3, Oddiwrth hanes ein cyd-ddynion drwy yr holl oesau ydynt wedi myned heibio. Edrychwn i hanes y genedl a fynom, a'r genedlaeth a fynom, cawn fod pawb o bod oed a sefyllfa, wedi cefnu ar Dduw, ac wedi gwrthod cysuron crefydd, a dewis mwynderau daear yn eu lle—neu mewn geiriau eraill, yr oeddynt yn gwerthu eu genedigaeth-fraint am seigiau gwael y byd. Felly y gwnaeth y cenedlaethau cyn amser Noah, ac felly y gwnaeth ei hiliogaeth, er gwybod yr holl hanes am yr arch a'r diluw. Felly y gwnaeth cyd-oeswyr a hiliogaeth Abraham er eu holl freintiau. Felly y gwnaeth deiliaid goruchwyliaeth Moses hyd yn nod yn nghanol rhyfeddodau ei gwaredigaeth o gaethiwed yr Aipht, ac felly y gwnaeth llwythau Israel lawer tro ar ôl hyny, hyd yn nod yn amserau breintiau

mwyaf eu llywodraethwyr goreu. Nis gallwn feddwl am u- rhyw ddosbarth o bobl y byd, mewn unrhyw oes na gwlad, ddarfu iddynt lawer tro werthu eu genedigaeth-fraint; cafodd rhai o honynt le i edifeirwch, a ffordd gyfreithlaw dori y cytundeb â phechod, a galw y fargen ynfyd yn ol, gwrthod hudoliaethau daear, a dewis breintiau duwioldeb eu lle.

4. Profir yr un gwirionedd galarus oddiwrth sefyllfa br- enol preswylwyr y byd. Y mae y mwyafrif o lawer yn gwert- eu genedigaeth-fraint; hyny ydyw, y maent yn diystyru ac gwrthod, yn gwadu ac yn gwerthu cysuron crefydd am rw- a golud, a mawredd a mwynder y byd. Felly pan feddyli- am dwyll a gwendid y galon, ac am brofedigaethau y byd, am hanes yr hen oesau, ac am sefyllfa bresenol dynolryw, g- wn ar unwaith ein bod ninau, fel eraill, mewn perygl o syr- i'r amryfusedd mawr o werthu golud a gorfoledd crefydd deganau a seigiau y byd. Os ceir ni i adnabod ein pery- bydd hyny yn gymelliad i ni i wylio, er gochelyd ein profedig- aethau.

II. Crybwyllwn rai o nodweddau y bobl ydynt yn gwert- eu genedigaeth-fraint, ac y mae o bwys i ni chwilio ein hun- rhag fod rhai o'r nodweddau hyny yn perthynu i ni.

1. Y mae y rhai sydd yn diystyru addysg, ac yn esgeulu- moddion addysg, yn gwerthu eu genedigaeth-fraint. Y mae yr Arglwydd wedi trefnu amrywiaeth o foddion addysg, wedi dwyn y moddion hyny i'n cyrhaedd. Y mae y Bei- genym yn ein hiaith ac yn ein haneddau, yr ydym wedi ca- ein dysgu i'w ddarllen, ac y mae yn hawdd i ni gael cyflea- derau i hyny. Y mae moddion addysg grefyddol bron y- mhob teulu: dichon y bydd yno rybuddion, a gweddiau, dagrau rhieni duwiol, neu gyngorion ac addysg brawd neu chwaer neu ryw forwynig grefyddol, ac y bydd yno gân gweddi o gylch allor y teulu. Y mae yn mhob ardal bron weinidogaeth gyhoeddus yr efengyl yn darlunio trysorau cre- ydd ac yn eu cymell i'r enaid. Y mae breintiau dosbarth y

Ysgol!Sul] yn ein cyrhaedd. Y mae cyfeillachau profiad a phenderfyniad y saint yn ein cyrhaedd. Y mae cymundeb y swper sanctaidd, neu gymdeithas dyoddefiadau y Gwaredwr, yn ein cyrhaedd. Y mae ymddiddanion adeiladol y cydymaith myfyrgar ar y ffordd yn ein cyrhaedd. Y mae mil o lyfrau ar byncian crefyddol yn ein cyrhaedd: ac os ydym ni yn esgeuluso y moddion addysg hyn, y mae pob lle i ofni ein bod yn diystyru cyngorion doethineb a chariad, ac yn gwerthu ein genedigaeth-fraint.

2. Y mae y rhai sydd yn ceisio mygu argyhoeddiadau eu cydwybod yn gwerthu eu genedigaeth-fraint. Y mae gan ddyn feddwl, meddwl anfarwol; ac nid oes neb nad ydynt weithiau, mewn rhyw amgylchiad neu gilydd, yn meddwl am eu henaid, ac am y byd dyfodol; yn meddwl am farw ac am y farn, yn meddwl am eu cyfrifoldeb i Dduw, ac am y perygl o fod dan ei lid; yn meddwl mor drwm fyddai colli gogoniant a mwynhad y nefoedd, a bod ar ol byth: ac nid oes dim modd i feddwl am y pethau hyn heb deimlo; os ydym yn porthi myfyrdodau am bethau tragywyddol, ac yn magu teimladau o sobrwydd, ac yn ceisio dyfnhau yr argraffiadau a wneir ar ein meddwl, y mae yn argoel gobeithiol am ein iachawdwriaeth; ond os ydym am wthio pethau pwysfawr byd tragywyddol o'n meddwl, os ydym am gael y galon yn iach, ac yn gyfan, ac yn llawen, os ydym am ddystewi llais cydwybod, ac am ei sïo i gysgu, yr ydym yn gwerthu ein genedigaeth-fraint, ac yn llithro yn gyflym ar ffordd colledigaeth.

3. Y mae y rhai sydd yn ymhyfrydu i ddilyn llygredigaethau halogedig pechod yn gwerthu eu genedigaeth-fraint. Pan y mae y galon yn hiraethu ac yn blysio am unrhyw ddifyrwch gwaharddedig, a phan y mae y meddwl yn chwilio am gyfleusderau, ac yn cymeryd trafferth i gynllunio mesurau i gael gafael mewn mwyniant gwaharddedig, a phan y mae yr enaid yn fywiog a llawen wrth ddilyn pethau llygredig, gellir bod yn benderfynol fod yr enaid hwnw yn gwerthu ei enedigaeth-fraint. Dyma'r prif nodau sydd genym er adnabod y cyfryw

—y maent yn gwrthod addysg—yn mygu argyhoeddiadau eu cydwybod—ac yn ymhyfrydu mewn pechod.

III. Fod y fath ymddygiad yn un ynfyd ac andwyol—y mae'r fath gytundeb yn un ynfyd.

1. Oblegyd yr ydys yn newid y pethau gwerthfawrocaf am y pethau gwaelaf. Yr oedd gwerthiad yn cael ei wneud gan Esau. Yr oedd ef yn rhydd-weithredydd. Yr oedd ganddo eiddo yn ei feddiant, eiddo o werth anmhrisiadwy. Yr oedd yn hollol ddiystyr o werth yr eiddo oedd ganddo. Yr oedd ganddo ryddid i'w werthu, ac ewyllys i'w werthu. Mae'n debyg ei fod wedi meddwl a son am ei werthu lawer gwaith. Daliwyd ef gan brofedigaeth fechan. Daeth adref o'i helwriaeth yn flinedig, ac yn flysig am fwyd. Yr oedd gan ei frawd gawl coch blasus yn barod wedi ei goginio, cawl mae'n debyg o lysiau, a dichon fod ynddo ychydig o gig tyner, cig myn neu oen, neu faharan brâs, neu ŷch tew, neu gig cywion adar, ac wedi ei gyd-dymheru i foddio yr archwaeth, eithr nid oedd ond un saig o gawl coch yn y diwedd; ond gwerthodd Esau, yn ei flys gwyllt, ei enedigaeth-fraint am yr un saig hono, gwerthodd ei ditl i'r offeiriadaeth a'r freniniaeth deulnaidd am yr un saig hono. Yr oedd arno eisiau saig arall dichon cyn nos, o leiaf yr oedd arno eisiau saig arall bore dranoeth; ond nid oedd ganddo yr un enedigaeth-fraint i'w rhoddi am unrhyw saig arall. Y mae y gydmariaeth o werthiad ynfyd, fel gwerthiad Esau, yn cael ei chymwyso at ymddygiad pechadur yn gwerthu ei freintiau crefyddol am fwynderau darfodedig pechod, ac y mae y gydmariaeth yn un hynod o briodol. Y mae dyn yn rhydd-weithredydd. Y mae ganddo freintiau o'r gwerth mwyaf yn ei feddiant, ac y mae wedi cael ei osod mewn sefyllfa dda i'w defnyddio er dyfod yn etifedd breintiau gogoneddus y nefoedd; ond y mae yn gwerthu ei ditl i'r cyfan, a'r gobaith am y cyfan, am saig o ryw gawl neu gilydd i borthi ei flŷs; mewn gair, y mae o'i wir fodd, yn ei anystyriaeth, er pob cyngor a phob rhybudd, yn nghanol goleuni dydd tawel yr efengyl, yn gwerthu iachawdwriaeth ei enaid am gau-ddifyr-

wch munud awr, y mae yn gwerthu ei ditl i'r nef am sorod y llawr, y mae yn gwerthu tragywyddol bwys gogoniant am wagedd darfodedig pechod : a thrwy hyny y mae yn colli pob gwir fwynhad o'r bywyd sydd yr awr hon, ac y mae yn dibrisio ac yn gwrthod ei obaith am fywyd o wynfyd diddarfod.

2. Bydd yr enaid a wertha ei enedigaeth-fraint yn sicr o ddyfod i ddeall ei ynfydrwydd, ac o deimlo ei golled. Y mae dyn weithiau gyda gofalon a galwedigaethau amser yn gwneud dewisiad ynfyd, ac yn cael colled oblegyd hyny ; ond dichon nad yw yn cael cyfle i ddirnad llawn gylch ei gamgymeriad, ac felly nid yw yn teimlo cymaint am ei golled. Yr oedd cyfle ganddo i gael cyfran mewn un o ddau waith : dewisodd un o honynt, a rhoddodd ei arian yno, ond ni chafodd ddim oddiwrthynt, oblegyd trodd y gwaith yn fethiant : pe buasai yn eu trysori yn y fan arall, buasai yn cael taliadau uchel a rheolaidd ; oblegyd trodd y gwaith hwnw allan yn bur llwyddianus ; gwnaeth ef ddewisiad annoeth ac annedwydd, ond ni ddeallodd byth faint ei golled, ac o ganlyniad, ni theimlodd gymaint o'i phlegyd. Yr oedd dwy alwedigaeth yn agored o flaen dyn, dewisodd yntau un o honynt, heb fawr o ragfeddwl, trodd hono allan yn siomedigaeth ; pe buasai yn dewis y llall, buasai yn profi yn un enillfawr iddo ; ond ni ddeallodd erioed faint ei golled, ac nid oedd felly yn gofidio cymaint oblegyd ei golled. Yr oedd dau faes yn cael eu cynyg i ddyn ar unwaith ; gwerthodd yntau yr hyn oedd ganddo, a phrynodd un o honynt, heb holi ond ychydig yn ei gylch : trodd hwnw allan iddo yn un pur anffrwythlawn, pe buasai yn prynu y llall pan oedd yn cael cynyg arno, buasai yn dyfod yn gyfoethog iawn, oblegyd yr oedd yn llawn o drysorau ; ond ni ddeallodd byth faint ei golled, ac felly nid oedd yn teimlo cymaint o siomedigaeth. Yr oedd dyn yn cael cynyg ar ddau gartref, dewisodd un o honynt; erbyn cyflogi yno, nid oedd yno ond annhrefn a thlodi, a gwarth, a gofid ; tra yr oedd yn y llall bob llawnder a phob cysur ; ond ni wybu y dyn y rhagoriaeth, ac felly ni ddeallodd ei golled, ac ni chafodd siomedigaeth le i'w ofidio.

Ond daw pob un a wertho ei enedigaeth-fraint i ddeall ei ynfydrwydd, a daw hefyd i deimlo ei golled. Daw i ddeall ei fod wedi dewis cibau gwaelaf y byd yn lle gwleddoedd llawion tŷ Dduw, ei fod wedi dewis teganau llygredig yn lle coronau anfarwoldeb. Daw i ddeall ei fod wedi dewis ffordd galed y troseddwr yn lle ffyrdd hyfryd doethineb, ei fod wedi dewis gwasanaeth gwarthus y diafol yn nheyrnas y tywyllwch yn lle gwasanaeth anrhydeddus purdeb a goleuni yn nheyrnas anwyl Fab Duw. Y mae yn sicr o ddyfod ryw dro i ddeall ei ynfydrwydd, pan y bydd dichon mewn gwasgfa ar wely cystudd, pan yn rhodio ei hunan ar hyd y glyn, pan yn taro ei draed wrth y mynyddoedd tywyll, pan yn suddo yn y llif, heb neb i ddal ei ben yn uwch na'r dòn; daw i ddeall ei fod wedi dewis bythol golledigaeth yn lle gogoniant a gorfoledd y nefoedd.

3. Bydd yr enaid yn sicr o gofio byth am ei ynfydrwydd, ac o deimlo byth am ei golled. Byddai yn dda ganddo, ac yn dda iddo, pe byddai ei ddeall yn pallu, fel nad allai ddirnad natur, na chanlyniadau ei gamgymeriad; ond pery galluoedd ei feddwl mewn nerth diddarfod. Byddai yn dda ganddo, ac yn dda iddo, i'w gôf ballu, fel yr anghofiai ei ynfydrwydd, ond deil ei gôf i gryfhau am dragywyddoldeb. Byddai yn dda ganddo, ac yn dda iddo, i'w gydwybod huno hûn dragywyddol, ond nid all ddystewi ei chwynfanau yn y byd a ddaw; ni all ei sïo byth i gysgu, ar ol iddi ddeffro yn nghanol dychrynfeydd y dydd diweddaf. Cofia byth bythoedd am ei wallgofrwydd. Teimla byth bythoedd oblegyd ei golled. Bydd ei gydwybod yn tystio wrtho yn fwy-fwy torcalonus o hyd—"Bu genyt enedigaeth-fraint o werth anmhrisiadwy, ond yr wyt wedi ei gwerthu, ac ni chei byth gyfle i alw y fargen yn ol. Bu llaw tosturi yn estynedig atat, ar hyd y dydd, ganoedd o weithiau, a bu llais cariad yn cynyg i ti holl wleddoedd trugaredd; ond diystyraist bob cynyg, a dewisaist seigiau gwaelaf gwenwynig pechod yn lle arlwyadau gras y nefoedd; ac ni chei gynyg byth mwy ar gymaint a defnyn o drugaredd.

Gwrthodaist iachawdwriaeth rad, dirion, gyflawn, ac yn awr y mae dy bla wedi myned yn anaele. Bu trysorau anchwiliadwy.gras yn dy gyrhaedd ac yn dy ymyl, yn cael eu dangos i ti, ac yn cael eu cynyg i ti, ond cefnaist arnynt; ac yr wyt yn awr yr ochr aswy i'r agenddor—agenddor ag sydd wedi cael ei sicrhau gan gyfiawnder—agenddor na cheir byth dramwyfa drosti, a rhaid i ti suddo îs is mewn tlodi diddiwedd." Bydd danodion diddiwedd cydwybod euog yn ngwlad colledigaeth yn alaethus ofnadwy. Nid oes modd i ni yn awr ddarlunio na dirnad ing ei gwasgfeuon. Bydd yn adgofio ac yn adgoffa cyngorion a gweddiau a dagrau rhieni duwiol. Bydd yn adgoffa yr hen benillion fuwyd yn ganu o gylch yr allor deuluaidd. Bydd yn adgoffa am daerineb ac eglurder gweinidogaeth y cymmod o areithle yr hen addoldy, ac am destynau a theimladau a golygfeydd dydd y gymanfa. Bydd yn adgoffa am gyngorion caredig o wely angau hen gyfeillion. Bydd yn adgoffa am yr addunedu a wnaed yn y fynwent wrth guddio perthynasau anwyl yn y bedd. Bydd yn adgoffa yr olwg ar fwrdd y cymundeb, ac am y gweinidog yn rhoddi deheulaw cymdeithas i gyfeillion ieuainc pan yn dewis ochr y nefoedd yn lle mwyniant pechod. Bydd yn adgoffa am edrychiad y gweinidog pan yn tori y bara a phan yn estyn y cwpan, a phan yn dywedyd dros Iesu, "Gwnewch hyn er coffa am danaf." Bydd yn adgoffa am holl ymrysoniadau yr Ysbryd, ond bydd yn rhy ddiweddar i'r adgofion fod o ddim lleshad i'r enaid. A bydd cymdeithion colledig yn ail adrodd danodion cydwybod euog, ac yn cyhoeddi uwch uwch o hyd eu bod oll yn wir. Ac os meiddir codi'r olwg i edrych dros yr agenddor fawr i fyny tua thrigfanau bro y goleuni, gwelir yno saint ac angylion yn eu gwyn yn gwledda o gylch y bwrdd mawr llawn yn nhŷ eu Tad, a dichon yr adnabyddir yno yn eu mysg rai o geraint ac o hen gyfeillion amser breintiau y ddaear, ac os codir llef atynt i apelio am ryw ymwared, yr ateb fydd, "Coffa i ti ddewis a derbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac i ti wrthod holl gynygion yr efengyl." A bydd y Tad ar ei orsedd yn cy-

hoeddi—"Yn gymaint ag i mi eich gwahodd ac i chwithau wrthod, i mi estyn fy llaw a neb heb ystyried ; ond diystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd ; minau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi, mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni, pan ddel arnoch y hyn yr ydych yn ei ofni megys dystryw, ac y del eich dialedd arnoch megys corwynt, a dyfod arnoch wasgfa a chaledi ; yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf ; yn fore y'm ceisiant, ond ni'm cânt ; canys câs fu ganddynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant, ni chymerent ddim o'm cyngor i, dirmygasant fy holl gerydd. Am hyny, hwy a gânt fwyta ffrwyth eu ffordd eu hunain, a'u llenwi â'u cyngorion eu hunain." A bydd yr Iesu a groeshoeliwyd, yr hwn sydd yn nghanol yr orseddfainc, yr hwn a ddaeth yn dlawd er cyfoethogi pechaduriaid, a'r hwn a roddes ei fywyd yn aberth dros yr euog, a'r hwn o'i anfeidrol haelioni a wnaeth y "swper mawr" ar ei gyfer, yn cyhoeddi dros yr holl nefoedd—"Yr wyf yn dywedyd i chwi, Na chaiff yr un o'r rhai a ddiystyrasant fy ngwahoddiadau brofi o'm swper i. Bu fy mhen yn wlyb gan ddefnynau y nos, wrth ymbil am iddynt agor i mi : ond ni fynent fy nerbyn, ac ni agoraf byth mwyach, unrhyw ddrws o ymwared iddynt : cauer hwynt allan, a gyrer hwynt ymaith gyda gweithredwyr anwiredd." Bydd pob peth yn y diwedd yn ychwanegu poenau gwerthwyr eu genedigaeth-fraint ; yr oll a welant, ac a glywant, yr oll a gofiant ac a ddisgwyliant, eu holl adgofion a'u holl ragolygon, yr olwg ar eu cydgolledigion anfarwol yn eu hanobaith, yr olwg a gânt ar gymanfa y saint a'r angylion sanctaidd, ac yn enwedig ar yr Oen yr hwn a laddwyd er mwyn iddynt hwy cael cynygiad o fywyd.

## CYMHWYSIAD.

Yr amcan o bob adroddiad fel hwn yn y weinidogaeth, ac yn mhob cyfeillach grefyddol, ydyw ein cynhyrfu ni i fwy o wyliadwriaeth rhag gwerthu ein genedigaeth-fraint. Y mae lle i ofni fod llaweroedd sydd yma heddyw wedi ei gwerthu

:achefn a thrachefn, a hyny am seigiau a sothach gwaelaf y laear. Y mae yn drugaredd anfeidrol nad ydyw Duw ddim :o wedi derbyn a chadarnhau y fargen, ac nad yw angau lim wedi gosod sêl tragywyddoldeb wrthi. Y mae ffordd rdd gyfreithlawn yn awr i'w galw yn ol. Y mae lle i edi- irwch. Y mae modd i ni gael y fendith, ond i ni drwy dagrau ei thaer-geisio hi. Gellir tori y cyfammod ag uffern, gorchfygu hudoliaethau y byd ; ac y mae Duw yn cynyg hoddi i ni, drwy gyfammod tragywyddol, fendithion anmhris- ıdwy ei iachawdwriaeth, a llawenydd anrhaethadwy y nef- edd. Yr wyf yn cael y fraint heddyw o anerch llawer o blant hieni crefyddol. Gwerthfawrogwch eich "genedigaeth-fraint." lochelwch er dim ei gwerthu am unrhyw fwyniant daearol. lwnewch yn fawr o funudau gwerthfawr yr addoliad teulu- idd. Gochelwch rwystro gweddiau eich rhieni. Cynorthwy- rch yn siriol eu caniadau. Cymdeithaswch â'u dagrau. Rhoddwch eich llaw a'ch calon i'r Arglwydd. Ymwthiwch i ;ymundeb ei eglwys. Ymegniwch o blaid ei achos gogon- ddus, a gafaelwch am eich bywyd yn y fendith a'ch cyfoeth- ıga byth.

## "MESUR OEDRAN CYFLAWNDER CRIST"

("Eithr efe a ddyrchafodd, beth yw ond darfod iddo hef[y]gyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear? Yr hwn a ddisgyn[odd] yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyf[lawnai] bob peth.) Ac efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn br[offwydi] a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; [i ber]ffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist; [hyd oni] ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, [yn ŵr] perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist."—Eph. 4. 9—13.

---

Mae'r adnodau cynwysfawr hyn yn dysgu i ni,

I. Fod Iesu Grist, ein Harglwydd ni, wedi "esgyn go[ruwch] yr holl nefoedd."

1. Y mae "goruwch yr holl nefoedd" fel Penllyw[ydd y] bydysawd. Y mae y bydoedd oll, a phawb a phob dim [a] grewyd, dan ei lywodraeth ef. Y mae talaethau a th[al]aethau ei ymerodraeth yn aunherfynol, ac y mae eu deili[aid yn ddi]ddirif; ond y mae ei deyrnasiad ef dros y cyfan oll, ac y [mae] awdurdod ei deyrnwialen ef yn cyrhaedd pawb, yn mhob [man].

2. Y mae "goruwch yr holl nefoedd" o ran urddas ei [gogon]iant a'i harddwch, gogoniant a harddwch rhyfeddol ei B[erson] fel Immanuel, gogoniant dysglaer tanbeidiol gorseddfainc ei lŷs, gogoniant a harddwch ei goronau lawer, a'r wisg fr[enhin]ol sydd am dano, a'r enw sydd ar ei wisg, a'r agoriadau wrth ei wregys, gogoniant a harddwch ei ddull yn gwein[yddu] ei swyddau cyfryngol, a'r gogoniant y mae yn derbyn [oddi] wrth fawl ac addoliad pur a dedwydd y myrddiynau dig[ri]fyddloniaid sy'n cylchynu ei orseddfainc.

3. Y mae "goruwch yr holl nefoedd" fel prif weinidog—*prime minister*—yr holl ymerodraeth fawr. Y mae amg[ylch]iadau pob Talaeth o honi yn berffaith hysbys iddo, ac y [mae] eu hachosion oll yn cael eu trefnu ganddo. Y mae acho[sion] uchel y llŷs nefol gartref, ac achosion pwysfawr a dyrs[o]

daear ryfedd ni, ac achosion y bydoedd oll, agosaf a phellaf, ac achosion carchar ei elynion dan ei oruwchreolaeth ef.

4. Y mae "goruwch yr holl nefoedd" fel prif ranwr trysorau gras. Y mae mewn rhai llysoedd cyfoethog a galluog *Lord High Almoner* i ranu yr elusenau, a'r gwobrau, a'r trysorau; ac y mae yn swydd o urddas ac anrhydedd mawr. Iesu, yr hwn a ddisgynodd i barthau isaf y ddaear, ydyw *Lord High Almoner* y nefoedd. Y mae ganddo dan ei ofal oludoedd anchwiliadwy o ras a gogoniant. Y mae agoriadau yr holl drysorau wrth ei wregys ef. Y mae wedi derbyn rhoddion i ddynion, ïe, i'r rhai cyndyn hefyd; ac y mae awdurdod ganddo i ranu yn ol ei ewyllys da. Ni bydd byth ball na thrai ar ei drysorau. Y mae yn hoffi rhanu, a rhanu yn hael, i bob truan a ddaw at ei borth i geisio ganddo, ac y mae holl lŷs y nefoedd yn llawen wrth eu bodd pan y mae yn cyfoethogi trueiniaid.

5. Y mae goruwch yr holl nefoedd fel prif Faeslywydd yr holl fyddinoedd. Y mae lluoedd dirif yn perthynu i'r ymerodraeth, oll yn alwedig ac etholedig a ffyddlawn, ac y maent oll dan ei lywyddiaeth ef. Efe yw y "Commander in chief," ac y mae bob amser yn blaenori ei fyddin ar faes y frwydr, a gwneir ei filwyr oll yn fwy na choncwerwyr trwy nerth a doethineb a medr eu blaenor.

6. Y mae goruwch yr holl nefoedd fel Deddfwr Seion, neu fel Pen ei eglwys. Yn ol ei air a'i ordinhadau ef y mae ei eglwys i gyflawni pob peth, i drefnu ei holl achosion, ac i weinyddu ei holl ddisgyblaeth. O'i gyflawnder ef y mae i dderbyn ei holl gynaliaeth. Ar ei etifeddiaeth ef y mae yn gobeithio byw yn oes oesoedd, a'i foliant ef sydd i fod yn ei genau yn wastad.

II. Fod ei dderchafiad uchel wedi ei sylfaenu ar ei ddisgyniad blaenorol. "Efe a dderchafodd, beth yw ond darfod iddo ddisgyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear?" Ystyr y gofyniad ydyw, ei fod wedi disgyn er cael ffordd rydd newydd i'w

dderchafiad. Yr hwn a ddisgynodd i barthau isaf y ddaear yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd.

1. Yr oedd yn bodoli fel person dwyfol cyn ei ddisgyniad. Ni buasai synwyr yn yr ymadrodd am dano yn disgyn, oni b- asai ei fod yn hanfodi cyn disgyn, a bod ei feddwl ar neges ei ddisgyniad. Yr oedd yn preswylio fry cyn disgyn i babell y ddaear; ac yr oedd holl fryd ei galon gariadlawn, er t- gywyddoldeb, ar genadaeth bwysfawr arfaethedig ei rad d- garedd, i ddyfod i'n byd ni i gadw ac i godi plant dynion.

2. Dywedir iddo ddisgyn i "barthau isaf y ddaear." B- asai yn ddisgyniad mawr iddo ddyfod i eistedd ar orsedd- Dafydd ei dad, neu i wisgo breninwisg a choron Solomon, i lenwi cylch breninol Josiah fel diwygiwr; buasai yn ddisg- iad mawr iddo ddyfod i wisgo mitr Aaron, ac i weini yr a- offeiriadaeth yn lle Caiaphas; ond disgynodd i barthau isaf y ddaear, i fru Mair, i breseb yr anifail yn Bethlehem, i fod y "fab y saer" o Nazareth, i oddef newyn yn y diffeithwch, eistedd yn lluddedig ar ffynon Jacob, i fod heb le i roddi ben i lawr, i ing a chwys ei wasgfa yn Gethsemane, i wart- phoen y cernodiau a'r poeredd, a'r ffiangell, a'r goron ddrain, a'r groes, a bedd benthyg Joseph; disgynodd i ddyfnderoedd dirmyg a'r tlodi, disgynodd dan gronfa o waradwyddiadau dyoddefiadau, a disgynodd o'i fodd, yn yr adeg benodedig, mewn dull cyhoeddus, fel y cai pawb gyfle i wybod am ryfe- odau ei ddarostyngiad, ac i fyfyrio ar egwyddorion ei g- ryngdod.

3. Disgynodd felly i'r dyben i agor ac i balmantu y ffordd i'w dderchafiad fel cyfryngwr. Ceir darluniadau cryfion tan- iadol o ddyben ei ddisgyniad er cael ffordd ogoneddus i'w dderchafiad yn Esay 25. 8; Esay 53. 10—12; Hosea 13. 14; Eph. 1. 20—23; Phil. 2. 6—11; Col. 2. 14, 15; Heb. 2. 1- 10. Arwydda yr adroddiadau ardderchog hyn—Fod Iesu wedi plygu i ddyrnod angau, fel y gallai lyncu angau mewn buddugoliaeth—ei fod wedi disgyn i'r bedd er bod yn dranc y bedd—ei fod wedi rhoddi ei enaid yn aberth dros bechod

y gwelai ei hâd, ac yr estynai ddyddiau, ac y byddai i ewyllys yr Arglwydd lwyddo yn ei law, i'w enaid ymroddi i'r llafur, fel y cai weled o lafur ei enaid, a chael ei ddiwallu, iddo gael ffordd i gyfiawnhau llawer trwy ddwyn cospedigaeth eu hedd-wch hwy, ac y caiff ranu'r yspail gyda'r cedyrn, am iddo dy-wallt ei enaid i farwolaeth; iddo ddisgyn i'r bedd fel y perar-oglai y bedd, ac fel y cyfodid ef trwy ragorol fawredd nerth Duw, i eistedd ar ei ddeheulaw yn y nefolion leoedd, goruwch pob tywysogaeth ac awdurdod, a gallu ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw. Iddo ei ddibrisio ei hun gan gymeryd arno agwedd gwas, a'i ddarostwng ei hun gan fod yn ufudd hyd angau, ïe, angau'r groes, fel y gallai ei Dad ei dra derchafu yntau, a rhoddi iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw, fel yn enw Iesu y plygai pob glin o'r nefolion, a'r daearolion, a'r tan-ddaearolion, ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Ar-glwydd, er gogoniant Duw Dad. Iddo ddileu ysgrifenlaw yr ordinhadau, yr hon oedd i'n herbyn ni, ac oedd yn ngwrthwyneb i ni, a'i chymeryd hi oddiar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes; gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'u harddangosodd hwynt ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi. Cafodd ei goroni â drain fel y cai ei goroni ac ar-rhydedd a gogoniant. Profodd farwolaeth, trwy ras Duw, dros bob dyn, fel y gallai roddi bywyd i bob dyn a gredo yn-ddo. Perffeithiwyd ef drwy ddioddefiadau, fel y gallai ddwyn meibion lawer i ogoniant.

III. Y mae ein testyn yn arwyddo fod gan yr Iesu, yr hwn a ddisgynodd i barthau isaf y ddaear, ac a esgynodd ar ol hyny goruwch yr holl nefoedd, swyddau uchel i'w gweinyddu a gwaith pwysfawr i'w gyflawni. Esgynodd "fel y cyflawnai bob peth." Pob peth o gynlluniau ei anfeidrol ddoethineb; pob peth o arfaethau ei dragywyddol gariad; pob peth o'i ymrwymiadau yn y cyngor hedd; pob peth ar a addawyd drwy broffwydi yr hen oesau; pob peth ar a rag-gysgodwyd drwy y defodau ar aberthau dan y goruchwyliaethau gynt.

Esgynodd "fel y cyflawnai bob peth." Y mae gwaith mawr ei gyfryngdod yn wahanol ganghenau. Y ganghen flaenaf ydyw gofalu am anrhydedd llywodraeth ei Dad. Canghen arall ydyw arolygu a chyfarwyddo holl symudiadau gweinidogaeth llengoedd dirif o angylion. Canghen arall ydyw trefnu ac addurno a chyfoethogi trigfanau a llwybrau a holl faesydd yr etifeddiaeth fry, fel y byddont yn gwbl barod, ac yn llawnion o bob rhyw brydferthwch a chysur, erbyn y daw ei holl deulu mawr adref. Canghen arall ydyw dyrysu a darostwng ei elynion, y rhai a wrthryfelasant yn erbyn gras ac awdurdod ei orsedd. Canghen arall ydyw sefyll yn nghanol olwynion Rhagluniaeth i reoleiddio eu holl droadau. Ond y ganghen a enwir yn arbenig yn ein testyn, ydyw adeiladu ei eglwys ar y ddaear—sef "perffeithio y saint"—a "gwaith y weinidogaeth"—ac "adeilad corff Crist." Dysgir dau beth i ni yma gyda golwg ar y ganghen fawr yma o'i waith.

1. Ei fod wedi sefydlu moddion yn y byd er adeiladu ei eglwys "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn broffwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon." Y mae pedwar gair i'w ddweyd am y moddion a sefydlwyd ganddo:

Yn gyntaf, Moddion moesol ydynt, nid moddion trais na gorfodaeth. Ni ddywedir yma, Efe a roddes rai yn fagnelwyr, a rhai yn gleddyfwyr, a rhai yn fflangellwyr, a rhai yn ddienyddwyr er perffeithio y saint: nid efe a roddes rai yn freninoedd coronog, a rhai yn faes-lywyddion arfog, er adeiladu ei gorff: ond rhoddes rai yn broffwydi, a rhai yn apostolion, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac athrawon, yr oeddynt i athrawiaethu ac argyhoeddi, yr oeddynt i geryddu ac i hyfforddi mewn cyfiawnder, yr oeddynt i gyngori a rhybuddio, yr oeddynt i berswadio ac ymresymu, a goleuo a denu. Yr oeddynt i bregethu yr efengyl, nid i arfogi byddinoedd. Yr oeddynt i hulio bwrdd yr iachawdwriaeth, nid i gloi mewn carcharau; yr oeddynt i roddi olew yn y briwiau, a balm i glwyfau y galon, ac nid i gadwyno yn y cyffion nac i losgi yn y tân.

Yn ail, Moddion i'w dwyn yn mlaen drwy offerynoliaeth dynol oeddynt. Y mae angylion yn ysprydion gwasanaethgar, ac y maent yn caru gweithio yn eu dulliau uchel ysprydol hwy; ond gwaith i ddynion gyflawni grybwyllir yma. Nid angylion, ond dynion, sydd i argraffu y Beibl, ac i ddarllen y Beibl. Nid angylion, ond dynion, sydd i efengylu anchwiliadwy olud Crist. Nid angylion, ond dynion sydd i hulio bwrdd cymundeb y saint. Nid angylion, ond dynion sydd i fugeilio praidd Crist, ac i borthi ei ŵyn. Gallasai Iesu urddo ei angylion i bregethu ei efengyl ac i weinyddu ei hordinhadau, a buasent yn ei chyfrif yn fraint, ac yn ei theimlo yn hyfrydwch i fod yn y fath wasanaeth; ond nid felly y trefnodd, sefydlodd gyfundrefn o foddion i gael eu dwyn yn mlaen drwn offerynoliaeth dynion. Gall y rhieni a'r plant, gall y mamau, a'r gwragedd, a'r chwiorydd, gall yr aelodau ieuangaf a gwanaf yn gystal a swyddogion yr eglwys, gynorthwyo yn y "weinidogaeth" fawr o berffeithio y saint ac adeiladu corff Crist. Dynion, ac nid angylion, sydd i fod yn fugeiliaid ac athrawon. Y mae Iesu yn ei lŷs fry yn byw bob amser i weithio, ac y mae yn llenwi ei holl swyddau. Y mae y Dyddanydd, Yspryd y gras wrth ei swydd yn gweithio; ond y mae Iesu wedi trefnu maes rhydd teg i'w bobl weithio, ac y mae wedi ymddiried y gyfundrefn o foddion i'w gofal, ac y mae yn hoffi eu gweled oll yn gweithio, ac nid oes neb arall i gyflawni y gwaith a ymddiriedwyd iddynt hwy. Nid oes yr un angel all lenwi lle mam fel athrawes yn yr ystafell fagu: nac un angel all lenwi lle yr athraw yn y dosbarth, na lle y gweinidog yn yr areithfa, nac yn un man arall.

Yn drydydd. Moddion o gylch digon llydan at bod amrywiaeth doniau. Yr oedd doniau proffwydol gan rai i ragfynegi am bethau oeddynt heb gymeryd lle. Yr oedd doniau apostolaidd gan eraill er gallu tystiolaethu yr hyn a welsant â'u llygaid ac a deimlasant â'u dwylaw am Air y Bywyd. Yr oedd doniau efengylwyr gan eraill i gyhoeddi gyda grym ac eglurder a melysder yr ymadrodd am y groes a'i rhinweddau.

Yr oedd doniau bugeiliol gan eraill er porthi y praidd a'r ŵyn, ac er eu harwain i'r porfeydd llawnion gerllaw dyfroedd tawel yr iachawdwriaeth, ac er eu cadw mewn lleoedd cysgodol a di- ogel. Yr oedd doniau athrawon gan eraill er maethu eu dis- gyblion ieuainc yn addysg ac yn athrawiaeth yr Arglwydd.

Yn bedwerydd, Y mae yr holl amrywiaeth dòniau i gyd effeithio er dygiad yn mlaen yr un amcan. Yr oedd gweini- ogaeth yr apostolian yn cryfhau gweinidogaeth y proffwydi, ac yr oedd gweinidogaeth yr efengylwyr yn helaethu cylch a dylanwad gweinidogaeth yr apostolion, ac yr oedd y bugeiliaid a'r athrawon yn dyfnhau ac yn helaethu gwaith yr efengylwyr. Nid oes dim gwrthweithio yn y drefn o foddion a sefydlwyd gan Iesu. Y mae rhai yn planu ac eraill yn dyfrhau. Y mae cyngorion ac addysg y fam gartref i gryfhau athrawiaeth y gweinidog a'r athraw yn yr addoldy. Y mae y doniau oll wedi cael ei trefnu, ac y maent i gael eu cyd-dymheru er cyf- lawni yr un amcan mawr, sef perffeithio y saint, ac adeiladu corff Crist.

2. Arwyddir yma y bydd golwg hardd iawn ar y saint pan y byddant oll wedi eu perffeithio; y bydd yr eglwys, neu gorff Crist, yn anrhaethol ogoneddus, pan wedi ei hadeiladu. Gan fod Iesu wedi disgyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear, a wedi esgyn ar ol hyny goruwch yr holl nefoedd, a chan ei fod wedi sefydlu trefn o foddion mor ogoneddus yn y byd er adeil- adu ei eglwys; dygir y gwaith i ben yn y modd perffeithiaf; ac y mae y darluniad a geir yma o hyny yn nodedig o gryf a o gynwysfawr: "Hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyf- lawnder Crist. Y mae pob gair yn gyfoethog o ystyr, ac o ystyr mwyaf dyddanol. Hyfryd meddwl am gyd-"ymgyfar- fod," ar ol bod ar wasgar drwy'r holl wledydd a thros yr h- oesau. Y mae lle, ac amser, a dull, a holl amgylchiadau y cyfarfod wedi eu trefnu a'u penderfynu. Hyfryd meddwl a gyfarfod oll, bydd yr holl saint o ddyddiau Adda ac Abel hyd ddyddiau Abel bach ieuangaf diwedd amser, yn y cyfarfod

mawr dedwydd hwnw. Y mae llawenydd mawr mewn ambell deulu ar y ddaear pan y bydd yr holl aelodau wedi gallu cyfarfod o gylch yr un bwrdd yn nhŷ eu tad. Hyfryd meddwl am gyfarfod oll "mewn undeb," undeb ffydd a phroffes, undeb cred a theimlad. Ni bydd dim croes-gredoau, na defodau sectol, nac yspryd plaid yn nghyfarfod mawr y nef; byddant oll yno yr un ffydd, yr un gân, yr un brofiad, yr un lawenydd, a'r un obeithion. Cyfarfyddant yno yn undeb ffydd a "gwybodaeth Mab Duw." Bydd "gwybodaeth" y saint yno yn fawr iawn, yn enwedig yn y canghenau perthynol i gyfryngdod "Mab Duw." Byddant yn deall deddfau anian yn dda, ac yn gwybod hanes troion Rhagluniaeth yn dda; ond eu pwnc mawr fydd "gwybodaeth Mab Duw." Y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Yr athrawiaeth am ei ymgnawdoliad, a'i weinidogaeth, a'i Iawn, a rhinweddau ei waed, a grym ei adgyfodiad, a gras ei eiriolaeth, ac urddas ei swyddau cyfryngol, a gogoniant ei ail-ddyfodiad. Cyfarfod oll mewn undeb ffydd a gwybodaeth felly "yn wr perffaith," yn berffaith rydd oddiwrth bob cyfeiliornad a phob cam-deimlad, yn berffaith rydd oddiwrth holl effeithiau llygredd, a holl brofedigaethau llygredd, wedi eu glanhau drwy ei waed ef oddiwrth bob pechod, yn eglwys heb arni na brycheuyn, na chrychni, na dim o'r cyfryw; ond yn wr perffaith "at fesur oedran cyflawnder Crist." Meddyliodd rhai cyn hyn fod cyfeiriad yn y geiriau "mesur oedran," at fesur neu faint y corff yn yr adgyfodiad; ond y mae yn debycach fod y cyfeiriad at yr eglwys oll fel "corff Crist." Bydd holl ranau a holl aelodau y corff mewn cysylltiad â'r pen, yn derbyn eu cyflawnder o'r pen, yn symud oll yn ol ewyllys y pen, yn dwyn delw eu perthynas a'r pen, yn deilwng o'r pen, ac yn ddedwydd bydd gyda'r pen. Nid oedd modd i hyd yn nod Paul ei hun ddefnyddio iaith dlysach i osod allan harddwch a gwynfyd yr eglwys pan wedi ei pherffeithio.

CYMHWYSIAD.

Crist ydyw pob peth yn iachawdwriaeth pechadur. Efe

ddisgynodd. Efe esgynodd. Efe sefydlodd weinidogaeth y moddion; efe sydd yn cynal ar y daith; efe sydd yn dyddanu yn angau; efe fydd yn arddel yn y farn, ac yn arwain i'r nefoedd.

Nid hawdd ffurfio barn gywir am yr eglwys yn awr pan y mae heb ei pherffeithio, heb ddyfod i fesur ei llawn oedran, heb gyfarfod oll yn yr un lle. Ni ddychymygodd yr un anffyddiwr erioed mor hardd fydd pan wedi cyfarfod oll yn nydd ei pherffeithiad.

Ni dderbynir neb i'r nefoedd ar ol y dydd i'r saint gyfarfod oll, a myned i mewn i lawenydd eu Harglwydd, a chyd-eistedd o gylch y bwrdd, ac i'r drws gael ei gau.

## "Y GAREG O'R MYNYDD."

"Ac yn nyddiau y breninoedd hyn, y cyfyd Duw y nefoedd freniniaeth yr hon ni ddistrywir byth: a'r freniniaeth ni adewir i bobl eraill; ond hi a faluria, ac a dreulia yr holl freniniaethau hyn, a hi a saif yn dragywydd. Lle y gwelaist dori careg o'r mynydd, yr hon ni thorwyd â llaw, a malurio o honi yr haiarn, y pres, y pridd, yr arian, a'r aur; hysbysodd y Duw mawr i'r brenin beth a fydd wedi hyn: felly y breuddwyd sydd wir, a'i ddehongliad yn ffyddlawn."—Dan. 2. 44, 45.

Weithiau, dan y goruchwyliaethau gynt, byddai pethau pwysfawr yn cael eu rhagfynegi drwy freuddwydion. Cafodd Abraham, a Jacob, a Job, a Joseph, a Daniel freuddwydion oddiwrth yr Arglwydd; a byddai hyd yn nod anffyddwyr ac eilunaddolwyr, rai prydiau, yn cael breuddwydion o Ysprydoliaeth y nefoedd. Cafodd Abimelec ei rybuddio mewn breuddwyd fod Sarah yn wraig i Abraham. Cafodd pentrulliad a phen-pobydd brenin yr Aipht eu rhag-rybuddio mewn breuddwyd o'r hyn oedd yn eu haros. Cafodd Pharaoh freuddwydion

hynod am y saith mlynedd o lawnder, ac am y saith mlynedd o newyn. Cafodd gwraig Pilat freuddwyd cynhyrfus am fawredd a gogoniant cymeriad Iesu. Ond dichon mai un o'r breddwydion llawnaf a mwyaf arwydd-lunol o amserau dyfodol oedd breddwyd Nebuchodonosor yn amser Daniel. Er ei fod yn ddyn balch a chreulawn, rhag hysbysodd yr Arglwydd iddo drwy freuddwyd yr hyn oedd i fod ar ol ei ddyddiau ef. Cafodd ei freuddwyd rhyfedd yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad. Trallodwyd ei yspryd o'i herwydd. Ciliodd ei gwsg oddiwrtho. Ond yn nghanol cynwrf ei deimladau, anghofiodd ei freuddwyd, ac archodd alw am y dewiniaid, a'r astronomyddion, a'r hudolion, a'r Caldeaid dysgedig i ddyfod allan o'u myfyrgelloedd i ddatguddio iddo ei freuddwyd. Daethant yn ol ei alwad, a safasant ger ei fron yn y dull mwyaf moesgar. Yr oedd tystiolaeth yn nghalon ei brenin fod ei freuddwyd yn un pwysfawr, ac yr oedd mewn cythrwbl pryderus am ei fod wedi ei anghofio. Pan geisiodd gan y doethion hysbysu iddo ei freuddwyd, llefarasant yn Syriaeg, "O frenin, bydd fyw yn dragywydd." Yr oeddynt am wenieithio iddo yn y geiriau boneddigeiddiaf. Yr oeddynt mewn dychryn yn gweled ei bod yn tywyllu arnynt; yr oeddynt am gelu eu cyfyng-gyngor hyd y medrent, a dichon mai hyny oedd eu rheswm am lefaru yn y Syriaeg. Ni fedrent mewn un modd gael gafael yn y breuddwyd, a dywedasant wrth y brenin, Adrodd dy freuddwyd i'th weision, a mynegwn y deongliad. Atebodd y brenin, mewn natur wyllt lidiog, Aeth y peth oddiwrthyf, oni fynegwch y breuddwyd i mi a'i ddeongliad, gwneir chwi yn ddrylliau, a'ch tai a osodir yn domen : ond os y breuddwyd a'i ddeongliad a ddangoswch i mi, cewch wobrau ac anrhydedd mawr o'm blaen i. Atebasant hwythau eilwaith, Dyweded y brenin y breuddwyd, ac ni a ddangoswn ei ddeongliad. Ymwylltiodd yntau yn fwy, a dywedodd, Mi wn mai oedi'r amser yr ydych, canys gwelwch fyned y peth oddiwrthyf : a dechreuodd edliw iddynt eu twyll, ac ail-fygythiodd eu dinystr. Dadleuasant hwythau nad oedd dyn ar yr holl ddaear a fedrai ddang-

os yr hyn yr oedd y brenin yn ei ofyn ; ac nad oedd yr
brenin, na phenaeth, na llywydd, wedi ceisio y fath beth
ioed o'r blaen gan unrhyw ddewin nac astonomydd ; fod
gais mor ddieithr fel nad oedd neb ond y duwiau, y rhai
oedd eu trigfa gyda chnawd, fedrai ei ddangos. Ar hyn
creulonodd y brenin yn ddirfawr, ac yn nghynddaredd ei
anfonodd gyfraith allan i ladd doethion Babilon, a cheisiwyd
Daniel a'i gyfeillion i'w lladd. Yr oedd y brenin yn fyrbwyll
ac yn greulawn ; ond yr oedd ei ddoethion yn rhoddi achos
iddo ddigio, oblegyd yr oeddynt yn proffesu y medrent
guddio dirgeledigaethau, ac yr oeddynt yn cael tâl da am hyn
a chan fod eu swydd yn cael y fath barch, a'u bod yn cael
cynal mor urddasol ar draul y wlad, nid rhyfedd iawn fod
brenin yn ymwylltio am eu bod yn methu dangos iddo
freuddwyd, oblegyd yr oeddynt yn rhoi ar ddeall i'r byd
datguddio dirgeledigaethau yn rhan o'u swydd, yn gangen
o'u hastudiaeth ac o'u proffes Yn yr adeg gyfyng gynhyrfus
hono, pan oedd Arioch y pen-distain yn myned allan yn arfog
i ladd y doethion, aeth Daniel yn foneddigaidd ond yn wrol i'w
gyfarfod, a gofynodd gyda phwyll a doethineb, Paham yr
oedd y gyfraith i gael ei gweinyddu gyda'r fath frys ? a thrwy
gyfryngiaeth Arioch, cafodd Daniel gyfle i ymbil â'r brenin am
amser i ystyried y peth, ac addawodd y dangosai efe i'r brenin
y breuddwyd a'i ddeongliad. Rhaid fod ffydd Daniel yn
ddiysgog yn nhrugaredd ei Dduw pan y gwnaeth y fath
rwymiad i frenin gorthrymus Babilon. Gallasai ddadlu ei fod
ef a'i gyfeillion yn rhydd oddiwrth ddedryd cyfraith waedlyd
y brenin, am nad oeddynt ond dieithriaid ieuainc yn y wlad,
ac nad oeddynt erioed wedi proffesu dewiniaeth nac astronomyddiaeth Caldea ; ond ni cheisiodd ddianc yn y dull hyn
eithr rhoddodd ei holl hyder yn ei Dduw, ac aeth i'w dŷ, a
hysbysodd y peth i'w gyfeillion ieuainc, fel y gallent ymuno
geisio trugareddau gan Dduw'r nefoedd : ac mewn atebiad i'r
cyd-ymbiliau taerion, datguddiwyd y dirgelwch i Daniel mewn
gweledigaeth nos, ac efe a fendithiodd yr Arglwydd ei Dduw

—Duw ei dadau, yn yr yspryd cynesaf, ac yn yr iaith ardderchocaf, am iddo ateb eu gweddiau a rhoddi iddynt ymwared mor werthfawr yn awr y fath berygl. Ac yna aeth at Arioch, a dywedodd wrtho, Na ddyfetha ddoethion Babilon, dwg fi o ffaen y brenin, a mi a ddangosaf i'r brenin y deongliad. Yna y dug Arioch Daniel o flaen y brenin ar frys, ac a ddywedodd wrtho fel hyn, Cefais wr o blant caethiwed Judah, yr hwn a fynega i'r brenin y deongliad. Atebodd y brenin a dywedodd wrth Daniel, A elli di fynegi i mi y breuddwyd a welais, a'i ddeongliad? Atebodd Daniel, yn yr iaith a'r yspryd ffyddlonaf, a duwiolaf, a boneddigeiddiaf, fel y canlyn: "Ni all doethion, astronomyddion, dewiniaid na brudwyr ddangos i'r brenin y dirgelwch y mae'r brenin yn ei ofyn; ond y mae Duw yn y nefoedd yn datguddio dirgeledigaethau, ac a fynegodd i'r brenin Nebuchodonosor beth a fydd yn y dyddiau diweddaf. Dy freuddwyd a gweledigaethau dy ben yn dy wely, oedd hyn yma. Ti frenin, dy feddyliau a godasant yn dy ben ar dy wely, beth oedd i ddyfod ar ôl hyn; a'r hwn sydd yn datguddio dirgeledigaethau a fynegodd i ti beth a fydd. Minau hefyd, nid o herwydd y doethineb sydd ynof fi, yn fwy na neb byw, y datguddiwyd i mi y dirgelwch hwn; ond o'u hachos hwynt, y rhai a fynegant y deongliad i'r brenin, ac fel y gwybyddit feddyliau dy galon. Ti frenin, oeddit yn gweled, ac wele ryw ddelw fawr; y ddelw fawr hon, o ddysgleirdeb rhagorol, oedd yn sefyll gyferbyn a thi, a'r olwg arni ydoedd ofnadwy. Pen y ddelw ydoedd o aur da, ei dwyfron a'i breichiau o arian, ei bol a'i morddwydydd o bres, ei choesau o haiarn, ei thraed oedd beth o honynt o haiarn, a pheth o honynt o bridd. Edrych yr oeddit hyd oni thorwyd allan gareg, nid trwy waith dwylaw, a hi a darawodd y ddelw ar ei thraed o haiarn a phridd, ac a'u maluriodd hwynt. Yna'r haiarn, y pridd, y pres, yr arian, a'r aur, a gyd-faluriasant, ac oeddynt fel man ûs y lloriau dyrnu haf; a'r gwynt a'u dug hwynt ymaith, ac ni chaed lle iddynt; a'r gareg, yr hon a darawodd y ddelw, a aeth yn fynydd mawr, ac a lanwodd yr holl ddaear.

